ac a wnaethent an Chwaer *Deina*, ond Duw ai attaliodd hwynt; hwy a erlidiasant ein Tad *Abraham* (megis deithr) ac a yrasant ei Dda efe ymaith; ac yn mhellach fe ddarfu iddynt Guro *Joblac* yn ddrwg, yr hwn y anesid yn ei Dy ef; ac yn y modd hwnnw i gwnaent hwy a ffob dieithraid, gan gymeryd ymaith ei Gwragedd oddiwrthynt drwy Drais, ac ymlid y Gwyr allan oi Gwlad, am ba achos Digofaint Duw a ddaeth arnynt hwy yn y diwedd. Mi a ddywedais wrth fy fy Nhad: *Sir, na thramgwydda, canis Duw a ddwg y* Cananeaid *i ddim oth flaen di, ac a rydd i* tir *hwy i ti, ac ith sainctaidd Had ar dy* ôl *di: Canis o hyn allan* Sichem *y elwir yn Ddinas yr Ynfydion, o herwydd fel i bydd i rai watwar ffylied i darfy i nineu i gwatwar hwynt, am wneuthyr y fath ynfydrwydd yn* Israel, *a chymeryd ymaith ein Chwaer ni yw halogi.*

Yno i daethom ni i *Bethel*, ac yn ôl imi Aberthu deg a thriugain o ddyddie ynghyd, yna mi a welais drachefn y peth y welswn ei or blaen. Ac mi a welais saith o Wyr mewn Gwisgoedd Gwynion, yn dywedyd wrthyf: *Cyfod, a dyro am danat Wisg yr Offeiriadeth, Coron Cyfiawnder, Rhesswm Dealldwriaeth, Gwisg y Gwirionedd, Dwyfoneg Ffydd, Meitur Sancteiddrwydd, ac*

*Ethod*

*Ephod y Brophwydolieth*; ac fellu pob ûn o honynt a ddygasant ryw beth gyda ac ĕf, ac ai dodásant am danaf i, gan ddywedyd: *Bydd di o hyn allan yn Offeiriad ir Arglwydd, dydi ath Had yn Dragywydd.*

Ar cyntaf am Eniniodd ei ac Olew Sainct-aidd, ac a roddes i mi Deirn-wialen Barn.

Ar ail am Golchodd ei a Dyfr glân, ac am porthodd ei a Bara a Gwin, sef or tra Sancteiddiola, ac am gwisgodd i a Gogoneddus Wisg hyd y llawr.

Y trydydd a roddes imi Wisg o Sidan tebig i Ephod.

Y pedwerydd am Gwregysodd ei a Gwregis tebig i Borphor.

Y pumed a roddod i mi Gangen o Liwydden yn llawn braster.

Y chweched a rodd Feitr yr Offeiriadeth am fy Mhen.

Y seithfed a lanwodd fy nwy Law ac Arogl Darth, fel i byddei imi wasanaethu swydd yr Offeiriadeth ir Arglwydd.

Ac efe a ddywedodd withyf: *LEVI, ei dri sfeth penodol i mae dy Had di gwed ei drefnu tan Ddaw. yn arwydd, i fod yn arwydd or Gogoneddus Arglwydd sydd i ddyfod; ar hwn a greto a fydd cyntaf, ar Coelfed; ar hwn a greto a fydd cyntaf; yr ail a fydd tren mawr ni syrth arno efe; yr ail a fydd yn Offeiriadeth; ar trydydd a gaiff enw newydd*

*newydd; Brenin a gyfyd i ſynu yn Juda, ac a adnewydda ſy Offeiriadeth yn ol dull y Cenhedloed, yn mysg yr holl Bobl: ond i ddyfodiad efe ſydd anrhaethadwy, ſef, pwy a gaiff fod yn Broffwyd ir Goruchaf, gwedi ei eni o Abraham ein Tad? Holl hyfrid bethau Iſrael a roddir i ti, ac ith Had; a chwi a ſwytewch yr holl bethau teg yr olwg; ath Had ti a gyfrenis yr Arglwydd, ac o honynt hwy i bydd yr Arch-offeiriadau, Barnwyr, ac Scrifenyddion; canis yn ei Genau hwy y cedwir pethau Sanctaidd.*

A ſan ddeffrois mi a ddealliais fod y Weledigeth yma megis y llall, ac mi ai goſodais hi i ſynu yn ſy Nghalon, ac nis dangeſais ei mo hyn i un dyn byw ar y Ddaiar.

Y ddau ddydd cyntaf ir aethym i a *Juda* at ein Taid *Iſaac*, efe am Bendithiodd ei yn ôl geirie y Weledigeth y welſwn. Ond efe ni ſynneu ſyned gid ni i *Bethel*.

Ond pan ddaethom i *Bethel*, ſy Nhad *Jacob* a welodd mewn Gweledigeth yn ſy mherthynas ei, i bydde i mi fod yn Offeiriad iddynt hwy oflaen yr Arglwydd; ac efe a gododd y bore, ac a Ddegymodd gimaint oll ac a feddau, drwyddo ſi, ir Arglwydd.

Yna i daethom ni i aros i *Hebron*; ac yn mhen ennyd *Iſaac* am galwodd ei i egored Cyfraith yr Arglwydd, yn ôl yr hyn ir

ydoedd

ydoedd Angel Duw gwedi i ddangos i mi, ac efe a ddanghosodd i mi *Gyfraith* yr *Offeiriadeth, Aberthau, Poeth Offrymau, Blaen-Ffrwythau, Aberthau-Gwirfodd,* ac *Aberthau-Hedd*; bob dydd efe a ddysgodd i mi Ddealldwrieth, ac am galwodd ei yn wastadol oflaen yr Arglwydd, gan ddywedyd: *Fy Mab, na ddod Glust ei Ysbryd Godineb, canis efe ath ddilin di, ac a haloga y pethau Sainctaidd trwy dy Had ti*; *gan hynny cymer Wraig yn dy ieuengtid, y cyfriw* ûn *ac ni bytho dim anaf nag aflendid, nag a fytho o Genedl yr* Aiphtiaid, *nag or* Cenhedloedd; *a chyn ir elich di ir Saincteiddiola Ymolch*; *ac yn yr* ûn modd *pen Aberthech, a hefyd pan Aberthech ir Arglwydd, a hefyd pan orffenech, Offrwm ir Arglwydd ffrwyth y deuddeg Pren y rhai ydynt byth yn Wrddion, megis ym dyscodd fy Nhad* Abraham *i wneuthur*; *a ffrwth holl Anifeilied Glan, ac or Hediad Glan ir Offrymi*; *ac yn yr* ûn modd *ir Offrymi dy Gyntaf Anedig o bob peth, ar Blaen-ffrwyth oth Win, a thanella dy holl Aberthau a Halen.*

Ac yn awr gan hynny fy Meibion, cedwch yr holl bethau ir ydwyf yn i Gorchymyn i chwi; canis pa beth bynag a glowais ei gan fy Nhadau, hynny ir ydwyf yn i fynegi i chwi, a glan ydwyf oddiwrth eich Pechodau chwi

chwi, a wneloch hád ddiwedd y Byd: Chwi a weithredwch anwiredd yn erbyn Achubwr y Byd; a chwi a hudwch *Israel*, gan gyffroi i fynu yn ei erbyn ef lawer o ddrygionu oddiwrth yr Arglwydd, drwy ddeilio yn annuwiol ac êf, fel na bytho ei *Jerusalem* barhau, oblygid eich ffieidd-dra chwi; a Llen y Demel a rwigir yn ddrylliau, i ddatguddio eich bryntni chwi; a chwi a wasgerir megis Carcharorion yn mysg y Cenhedloedd; a chwi a watwerir, a felldithir, ac a sethrir dan draed: Er hyn i gid, y Ty a ddewiso yr Arglwydd a elwir *Jerusalem*, fel i mae yn gynwysedig yn Llyfr *Enoch* y cyfiawn.

Ac felly pan oeddwn ei 28 mhlwydd Oed, cymerais ei wraig, yr hon ydoedd ai henw *Melcha*, a hi a feichiogodd ac a esgorodd ar Fab, ac a alwodd ei enw ef *Gershon*, oblygid nad oeddem ni onid dieithred yn y Tir; canis *Gershon* sydd yn arwyddycau Alldudaeth: Ond mi a wyddwn am dano ef, na chae fod or Gradde Penna.

Yr ail oedd *Caath*, yr hwn y aned yn y 35 flwyddyn: Ac mi a welais Weledigeth tua yr Dwyrain, y modd ir ydoedd yr holl Gynylleidfa yn sefyll yn Ddarchafedig; ac am hynny mi a roddais ei enw ef *Caath*, yr hyn sydd yn arwyddycau Dechreuad Mowredd a Dysceidieth.

Y trydydd ydoedd *Merari*, yr hwn y aned 55 flwyddyn om bywyd; ac oblygid fod ei Fam êf yn galed arni wrth Esgor, hi ai galwodd *Merari*, yr hyn sydd yn arwyddycau Fy Chwerwder.

Ac yn y 64 flwyddyn om bywyd i ganwyd fy Merch *Jochebed* yn yr *Aipht*; ac yno ir oeddwn yn anrhydeddus yn mhlith fy Mrodyr.

Ac yno fy Mab *Gershon* a gymerodd iddo Wraig, hi a ymddug iddo *Libni* ac *Sichmi*. Meibion *Caath* oedd *Amram*, *Yshvar*, *Hebron*, ac *Uziel*. A Meibion *Merari* oedd *Mahali* ac *Mushi*.

Yn y 94 flwyddyn om bywyd, *Amram* a gymerodd iddo yn Wraig fy Merch *Jochebed*, oblygid i genu hi ac yntau yr ûn diwrnod

Wuth Mhlwydd oed oeddwn pan aethum ei gynta i Wlad *Canaan*. Dau naw mhlwydd oeddwn ei pan aethym ei gynta i swydd yr Offeiriadeth. Ac wuth mhlwydd ar ugaun oeddwn pan gymerais ei Wraig. A dauguen mhlwydd oeddwn pan aethym ir *Aipht*: Ac wele yn awr chwi yn Blant im Plant ei, yn y drydydd Genhedlaeth. *Joseph* a fu farw yn y ganfed ar ddegfed flwyddyn oi fywyd.

Ac yn awr fy Mhlant, ir ydwyf yn eich rhybuddio chwi i ofni yr Arglwydd eich

Duw

Duw ach holl galon; a rhodiwch yn iniawn yn mhob peth yn ôl ei Gyfraith êf. Ac yn mhellach, Dygwch i fynu eich Plant mewn Dysceidieth, fel ei gallant gael Dealldwrieth wrth Ddarllen Cyfraith yr Arglwydd yn ddi-baid holl ddyddiau ei bywyd; canis pwy bynag y adnybyddo Gyfraith Dduw y Anrhydeddir; ac i ba fan bynag ir elo êf, ni bydd êf dieithr, ac a gaiff hefyd fwy o Gyfeillion nag a gafodd ei Dadau êf or blaen; a llawer a fydd llawen ganthynt i wasanaeuthu êf, a chlowed y Gyfraith allan oi Enau êf.

Fy Meibion, deiliwch yn inion ar y Ddaiar, fel i galloch gael y Nefoedd; hauwch bethau da yn eich meddyliau, fel i caffoch chwi hwynt yn eich bywyd; canis os chwi a haua bethe drygionus, chwi a fedwch drwbwl, a ffob math ar gymbrusdwydd: Ceisiwch Ddoethineb yn ofn Duw; canis os caethiwed a ddaw, a distrywio Gwledydd a Dinasoedd, Aûr ac Arian, a ffob meddiane yn darfod am danynt, etto nid oes neb a eill gymerid ymaith Ddoethineb y Doeth, ond yn unig Dallineb Anuwioldeb, a ffechod; canis Doethineb a fydd megis Tarian iddo yn musg ei elynion, ac a wneiff Wledydd dieithr i fod megis cartref iddo, ac a gaiff gymdeithas yn nghanol ei elynion,

os dysc a gwneuthr y cyfriw bethau, ef a
gaiff eistedd gida Brenhinoedd, fel ein
Brawd *Joseph*.

Ac mewn gwirionedd fy Mhlant, ir ydwyf yn dealld wrth Scrifenadau *Enoch*, y bydd yn y diwedd i chwi wneuthyr yn anwireddus, a gosod eich Dwylo yn Wradwyddus ar yr Arglwydd; a thrwyoch chwi eich Brodyr a Wradwyddir, ac a wneir yn Watwargerdd ir holl Genhedloedd: Ond pa fodd bynnag *Israel* sydd lân oddiwrth anwiredd yr Archoffeiriaid, y rhai a osodant ei Dwylo ar Achubwr y Byd; ie y Nefoedd uchod, ar Ddaiar sydd lân; ac os chwi ydech Oleini y Cenhedloedd, fel yr Haul ar Lleuad, beth a wneiff yr holl Genhedloedd os chwi a orchgiddir ac Anwiredd, ac a ddygwch Felldith ar eich Gwlad, er mwyn pa rai Goleini y Byd a roddwyd ynoch chwi, ei Oleini yr holl Bobloedd ac ef: Dyma Oleini y Byd, yr hwn y bydd i chwi yn ewyllysgar i Ladd, a dyscu gorchmynion yn y gwrthwyneb i Gyfiawnder Duw.

Chwi a ddarn-giddiwch Offrwm yr Arglwydd; ac a ddygwch ddrabiau o hono.

Cyn i gwnelôch eich Offrymau i Arglwydd, chwi a ledretwch ymaith y pethau dewisol, ac ai bwytewch yn Wradwyddu

ddus gida ffuteinied a budrogod, gan ddyscu Gorchmynion Cybyddus.

Chwi a halogwch Wragedd Priodol, ac a dreisiwch Forwynion yn *Jerusalem*.

Chwi a ymgyfathrechwch a ffuteiniaid.

A chwi a gymerwch Ferched y Cenhedloedd yn Wragedd, gan i puro hwy ac anghyfiawnder puredigeth; ach cymysgedd chwi a fydd yn gyffelib i *Sodom* a *Gomorrha*.

A chwi a lyngkir ac anwiredd yn yr Offeiriadeth, yn gimaint ac i bytho i chwi yn dra chwilyddus a gwradwyddus watwar y pethau Sainctaidd; nid yn unig ymdderchafu ac ymffrostio eich hunain yn erbyn Dynion, ond hefyd ymchwyddo i fynu gan falchder yn erbyn Gorchmynion Duw.

O herwydd hyn Temel yr Arglwydd, yr hon a ddewiso, yn ddiammau y adewir yn anghyfannedd mewn aflendid; a chwithau eich hunain ewch i Gaethiwed, ac a fyddwch yn ffieidd dra yn mysg y Cenhedloedd, ac a dderbyniwch ddi-ddiwedd gwilidd a gwerth trwy gyfiawn Farn Duw; a ffawb ach gwelo ach ffieiddiant: Ac oni buase er mwyn *Abraham*, *Isaac* a *Jacob*, ni adewid ûn om Hâd ei ar y Ddaiar.

Ac yn mhellach, ydd ydwyf yn gwybod wrth Lyfr *Enoch*, y bydd i chwi fyned ar gyfeiliorn

gyfeiliorn dros ysbaid deg a thriugain o wythnosau, ac a halogwch yr Offeiriadeth, ac a ddiwynwch yr Aberthau, a ddinistriwch y Gyfraith, ac a ddirmygwch lyferydd y Prophwydi; ac yn rhyfygus ir erlidiwch y Cyfiawn, y casewch y Duwiol, ac i ffieiddiwch lyferydd y Crefyddol Bobl; ai galw yn Heretickied y rhai a elont ynghylch adnewyddu y Gyfraith trwy bower y Goruchaf, ac yn y diwedd chwi ai lleddwch ef allan o law, heb wybod ei cyfyd êf drachefn; ac fellu chwi a dderbyniwch ei Waed Gwirion êf yn ewyllysgar ar eich Penau; ac oi blygid êf eich lleoedd Sainctaidd chwi a dewir yn anghyfanedd, y rhai a halogwch chwi drwy ddygyn anudonieth, ach Trigfanau ni byddant glân, ond chwi a fyddwch Melldigedig yn mysg y Cenhedloedd, a digalonrhwydd ach blina, hyd oni ymwelo êf a chwi drachefn, ach derbyn chwi yn drugarog drwy Ffydd a Dyfr.

Ac yn gimaint ac i chwi glowed am y deg a thriugain o wythnosau, gwrandewch hefyd yn mherthynas 'r Offeiriadeth; canis yn mhob Jubile, neu Lawen Ryddhad, i bydd yr Offeiriadeth.

Yn y Jubile cynta, y cynta a Eneinir a fydd mawr, ac a ymddiddan a Duw megis ai Dad; ai Offeiriadeth êf a fydd yn llawn ofn,

John Thomas
his hand 1763

ofn yn Arglwydd, ac yn nydd ei lawenydd fe a gyfyd er Iachadwrieth y Byd.

Yn yr ail Jubile yr Eniniog a Genhedlir yn nhristwch y rhai anwyl, ai Offeiriadeth ef a fydd Anrhydeddus, ac ef a fydd Anrhydeddus, ac ef a Ogoneddir yn mysg yr holl Bobl.

Y trydydd Offeiriadeth a gymerir i fynu mewn tristwch.

Ar pedwerydd a fydd mewn blinder, o herwydd amldra yr anwireddau a osodir arno ef drwy holl *Israel*, a ffob Dyn a gaseiff i Gymydog.

Y pumed y ddelir yn dynn mewn tywyllwch; ac yn yr ûn modd y chweched ar seithfed.

Ac yn y seithfed y bydd y cyfriw ffieidddra oflaen Duw a Dyn, fel nad wyfi abal iw eglurhau ef; pa fodd bynag y gweithredwyr o honaw ni byddant adnabyddus: Ac o herwydd hynny hwy a fyddant mewn caethiwed a llygrediġeth, ai Tir, ai Cyfoeth a ddifethir.

Ond yn y bumed Wuthnos hwy a ddychwelant yw Gwlad anghyfanedd, ac a adnewyddant Dy yr Arglwydd:

Ac yn y seithfed y daw Offeiriadau yn addoli Eulynod, Rhyfelwyr Cybyddus, Anghyfiawn

John Thomas's Book

hyfiawn Scrifenyddion, a Budr Ddirmyg-wyr Dynion, Plant, ac Anifeilied.

Ar ól ir Arglwydd ddanfon Dialedd ar-nynt hwy yn yr Offeiriadeth, yna i cyfodiff Daw Offeiriad newydd, ir hwn yr egorir holl Air yr Arglwydd: Ac ẽf a wneiff Wir Farn ar y Ddaiar dros lawer o ddyddiau: Ai Seren ẽf a godiff yn y Ne-foedd. *Fel Brenin i towalld allan Oleini Gwyboderh yn yr eglur dewynuad Haul y dydd, ac efe a Fawrygir dros yr holl Fyd, ac a dderbynir; fe a dewnna fel yr Haul ar y Ddaiar; yn ei ddyddiau efe y Nefoedd a Lawenycha, ar ddaiar a Ymhyfryda, y Cymyle a Ymorfoleddant; a Gwybodeth or Arglwydd a dowelldir allan fel Dyfroedd ar y Ddaiar; ac Angylion y Gogoniant, y rhai ydynt yn Mhresenoldeb yr Arglwydd, a Ymlawenhychant ynddo efe, ar Nefoedd a egorir, ac allan o Demel y Gogoniant i daw Sainct-eiddrwydd arno efe, gida Llyferydd y Tad, megis oddiwrth* Abraham *Tad* Isaac; *a Gogoniant y Goruchaf a dowelldir allan arno efe, ac Ysbryd Dealldwrieth a Sancteiddrwydd a Orphwys arno efe; o ba* ûn *fe a rydd yn heleth ac yn allwog yw Blant yn y Gwirionedd yn dragywydd; ac ni ddaw yr* ûn *ar i* ôl *efe o Genhedleth i Genhedleth hyd ddiwedd y Byd: Yn ei Offeiriadeth i diweddir pob*

*Pechod*

*Pechod, ar Anghyfiawn a beidiant ai Drygioni, eithr y cyfiawn a Orffwus yntho efe; ac efe a egoriff Burth Paradwys, ac a attal y Cleddyf Bygythiol yn erbyn* Adda; *ac a bortha ei Wyn a ffrwyth y Bywyd, ac Ysbryd Sancteiddrwydd a fydd ynddynt hwy; efe a rwum i fynu Belial, ac a rydd yw Blant ei hun allu i sathru i lawr Ysbrydoedd Niweidiol; ar Arglwydd a Ymlawenhycha yn ei Blant, a hwy a fyddant gymeradwy gantho efe yn Dragywydd fel ei Anwylyd; yna* Abraham, Isaac *a* Jacob *a Lawenychant, ac i Gorfoleddaf finau gyda yr Seinctiau oll.*

Yn awr fy Mhlant, chwi a glowsoch y cwbwl oll, am hynny dewiswch i chwi naill ai yr Goleini ai 'r Tywyllwch, naill ai Cyfraith yr Arglwydd ai Gweithredoedd Belial.

A hwy attebasant ei Tad, gan ddywedyd, *Nyni a rodiwn oflaen yr Arglwydd yn* ôl *ei Gyfraith efe.*

Yna *Levi* a ddywedodd: Yr Arglwydd sydd Dust, ar Angylion ydynt Dystion, a mineu ydwyf Dyst, a chwithau eich hunain ydech Dystion o Eiriau fy Ngenau.

Hwythau pan attebasant, a ddywedasant, *Nyni a fyddwn Dystion.*

*Levi* a orffwyſodd gwed rhoddi y Gorchymyn yma yw Blant, ac êf a yſtynodd ei Draed, ac a roddwyd at ei Dadau, gwedi iddo fyw 137 o flynyddoedd; a hwy ai dodaſant êf mewn Arch, ac ai claddaſant êf yn ôl hynny yn *Hebron*, yn ymyl *Abraham*, *Iſaac* a *Jacob*.

---

---

*Cyngor*

---

*Cyngor* Juda *wrol hynod,*
*Ydiw ymgadw oddiwrth Gybydd-dod,*
*Meddwdod, Maswedd a ffuteindra,*
*Am fod hyn yn Llad y Grysa.*

---

TESTAMENT *JUDA a wnaeth efe yw Blant wrth ei Farwoleth yn nghilch Gwroldeb, Cybydd-dod, a Godineb.*

COppiad o holl ymadrodd *Juda* a lysarodd êf wrth ei Blant yn nydd ei Farwolaeth, pan ddaethant hwy ynghyd oi flaen êf, efe a ddywedodd wrthynt.

Myfi oeddwn y pedwerydd Fab im Tad, am Mam am galwodd ei *Juda*, gan ddywedyd, *Ydd ydwyf fi yn diolch ir Arglwydd am iddo roddi i mi y pedwerydd Fab.*

Myfi oeddwn gyflym ar fy Nhraed, a Llafurus yn fy Ieuengctid, ac yn ufydd im Tad yn mhob peth, ac a fendithiais fy Mam ai Chwiorydd; a ffan ddaethym i gyflwr Gwr, fy Nhad *Jacob* a Weddiodd drosof, gan

ddywedyd: *Ti a ſyddi Frenin, ac yn Llwy-dianus yn mhob peth,* Ac wele Duw a roddodd imi râs yn fy holl waith, yn gyſdlad oddi-cartref a chartref.

Ar ryw amſer myfi y welais Ewig, ac a redais ar i hôl hi, ac ai deliais hi, ac o honi hi mi a wneuthym fwyd da im Tâd.

Myfi hefyd a redwn yn gynt nar Iwrchod, ac oddiweſwn bob peth ydoedd yn y meu-fydd, yn gimaint a darfod i mi ddal Caſeg wylld, ai dofi hi.

Ac a dynais Fûn allan o ſafn yr Arth, a chan i gymeryd êf erbyn ei Balf, mi ai gorthrechais êf.

A mi a rwygwn yn ddryllie yr holl Fwyſt-filod gwllſdion a ſafent yn fy erbyn, megis pa baſwn ei Ci.

Myfi a ymryſonais a Baedd gwylld, a chan i orddiwes êf, myfi ai rhwygais êf yn ddrylliau.

Ac yn *Hebron* Cymyſc-lew a neidiodd ar Gi, a myfi gan gymeryd gafel yn i gynffon êf, ai daliais, ac ai ergidiais ymaith, ac yn y mann fe dorodd ar ei draws.

Ac yn nhueddau *Gath* Tarw gwylld ydoedd yn pori yn y Meuſydd, a myfi a ymaflais yn ei Gyrn êf ac ai yſgydwais om cwmpas, ac yn y diwedd mi ai Lleddais efe.

A

A dau o Frenhinoedd y *Cananeaid* a ddaethant yn arfog ar ein Praidd, a llawer o Bobl gyda hwy; a myfi fy hunan, gan redeg at y praidd, a neidiais at Frenin *Dur*, a chan i ddidroidi êf mi ai gorthrechais, ac ai Lleddais êf.

A myfi hefyd a Laddais Frenin arall a elwyd *Thaphes*, ydoedd yn eiſtedd ar y Cefful, ac fellu a waſcerais i holl Bobl hwynt.

Myfi a orddiweddais y Brenin *Achior* y Cawr, ar ei Farch yn Saethu yn ôl ac yn mlaen, a chan daflu carreg o driugain pwys ar ei Farch, mi ai bwriais êf i lawr, ac ai Lladdais; a chan ymladd ac *Achor* ddwy awr, myfi a holldais ei Darian êf, ac a archollais ei Draed êf, ac yn y diwedd mi ai Lladdais êf; ac fel ir oeddwn yn tynny ymaith ei Ddwyfroneg êf, wele wyth oi gyfeillion êf a naſaſant attaf fi, ar hynny myfi a lenwais fy nwylaw o gerig, ac ai ergidiais attynt a thafl, ac a laddais bedwar o honynt, ac a yrais y pedwar eraill i ffoi.

Ein Tâd *Jacob* a laddodd y Cawr *Beeliſa*, Bredin yr holl Frenhinoedd, yr hwn ydoedd gwr a galluog, ei uchder oedd ddauddeg cyfudd: O herwydd y pethau hynn dychryn a ſyrthiodd arnynt, a hwy a beidiaſant ac ymladd ein herbyn.

Ac

Ac o herwydd hyn, fy Nhad ydoedd ofalus am danaf pan oeddwn mewn Brwydyr gida fy Mrodyr: Efe a welodd mewn Gweledigeth om plygid ei, *Y bydde Angel Nerth yn dilin yn nhob lle, fel nam Gorchfygid.*

Yr ail celenig ydoedd fwy Brwydyr i mi nar hon a gawswn ei yn *Sichem*; yn gimaint ac wrth ymladd yn wrol gida fy Mrodyr, mi a ymlidiais Fil o wyr, ac a laddais o honynt Ddau cant oi Gwyr, a ffedwar Brenin, a chan ganllyn ar i hôl hwynt, nyni a ysgoliasom Waliau y Ddinas, ac a laddasom ddau ychwaneg oi Brenhinoedd hwnt; ac a waredasom *Hebron*, ac ai harweiniasom hwynt oll ymaith fel Garcharorion.

Yna y dydd nesaf ni aethom at Ddinas Gref Gaerog nas gellid nesau ati, a hon a elwir *Areça*, yr hon a fygythiodd yn llad ni, ond myfi a *Gad* y aethom o du yr dwyrain ir Ddinas, a *Ruben* a *Levi* o du y gogledd ar dehau, a hwythau y rhai y fasent ar y Gwalie, gan dybied nad oedd neb ychwaneg ond *Gad* a minau, hwy a roesant dân arnom, pan yn y cyfamser ir ydoedd fy Mrawd, yr hwn ydoedd yn ddirgel yn canllyn, yn torri allan or ddautu arall arnynt hwy, a chan ddringo i fynu, ac Yscolio y Gwalie, nyni a ynillasom y Ddinas yn yng-

wr

John Thomas es Bo

wrth ein Gelynion, ac felly ni ai ynillaſom
i wrth y Cleddyf, ac a oſodaſom y Twr
r Dân, ac ai lloſgaſom i ſynu, gida chy-
ifer ac a ffoeſent iddo.

Ac fell ir oeddem yn dychwelyd, Gwyr
*Thaffie* oeddent yn canllyn am ein hysbail
i, ac ai cymeraſant gyda ein Plant, ond
yni ai cynllwynaſom hwynt hyd yn *Thaffie*,
c ai Lladdaſom hwy, ac a Loſgaſom ei
Dunas, ac a Ysbeiliaſom yr hyn oedd
ynddi.

A ffan oeddem wrth Dyfroedd *Gureba*,
yni a Syrthiaſom ar Wyr *Jobel*, y rhai a
ddaethant i Ryfel ein herbyn, ac ai ladd-
ſom, ac a dygaſom ei hysbail, ai cynorth-
wywyr hefyd, y rhai a ddaethent yw Ym-
ddiffin hwynt o *Selon*, ac felly ni roeſom
ddynt ddim hamdden i ddchwelyd drachefn
arnom ni.

Ar pumed dydd ar ôl hynny i daeth
Gwyr *Machir* i gyrchu ymaith ein Carch-
rorion, y rhai hefyd a darfu i mi ei cyddar-
od yn y Frwydr, âc er i bod yn Llû
Nerthol, ni ai Lladdaſom hwynt cyn gallu
o honynt fyned ir lle i daethant allan o
hono; a ffan ddaethom ni yw Dinas hwynt,
hwy a Dreingliaſant i lawr Gerrig attom
oben y bryn, ar ba ûn ir oedd y Ddinas yn
efyll, ond myfi a *Simeon* gan dueddu at y
tu

tû cefn ir Ddinas a ynillaſom y lleoedd Ucha, ac a Ddiniſtriaſom yr holl Ddinas.

Yr ail dydd dywedpwyd i ni fod Dinaſoedd dau Frenin yn dyfod ein herbyn, a Llû mawr iawn; gan hynny myfi a *Dan* yn ymddangos ein hunain megis i fod yn *Amoritheaid*, ac yn Gymdeithion iddynt, aethom i mewn ir Ddinas, ac wedi ini fyned i mewn yn rhymder y nos, ni a oſodaſom y Pyrth yn llydan agored ein Brodyr, y rhai oedd yn dyfod ar ein hôl ni, drwy ba fodd i darfu ini i diniſtrio hwynt, a chimaint ôll ac a feddent; a ffan ddarffu i ni fellu ddifetha y Ddinas, ni fwriaſom i lawr i thair Gwal hi.

Yno ni aethom i *Thamua*, yr hon oedd Noddfa ir holl Frenhinoedd yn ei Rhyfeloedd; yno lie ir oeddwn i yn ddigllon oblygid briw a gowſwn, mi a oſodais ar y rheini oedd yn ſefyll oddiarnaf, ond hwy a daſlaſant Gerrig i lawr ai ffynn-tafl, ac a ſaethaſant ai Saethau, a hwy am Lladdaſent i oni buaſe im Brawd *Dan* fy achyb i, am hynny ni a redaſom arnynt hwy mewn cyffro ac ai gyraſom hwynt ôll i ffoi, a hwy gan fyned ffordd arall aethant at fy Nhad, ac yn Oſtyngedig a Erfynaſant heddwch, ac yntau a wnaeth Gyfamod a hwynt, fel nas gwnaethom

gwnaethom iddynt niwed mwyach, eithr ai derbynasom hwynt i fewn cyngrair a ni, ac a roddasom iddynt ei holl Garcharorion: Yna adeiledais i *Chamma*, am Tâd a adeiladodd *Rambahel*.

Ugain mhlwydd Oed oeddwn pan wnaethbwyd y rhyfel yma; ar *Cananeaid* oeddent yn fy ofni ei am Brodyr.

Ac ir oedd genif lawer o ynifeilied; am pen Bugail oedd *Yean* o *Ocelam*, yng hwmpeini pa ûn i gwelais i *Bersa* Brenin *Odelam*, yr hwn a wnaeth Wledd i ni, a chida llawer o erfuniadau, a rodd ei Ferch *Bethusa* yn Wraig i mi, yr hon a ymddug i mi *Er*, *Anan* a *Silon*, ond daû or trî hyn a laddodd Duw yn ddi-blant; a *Silon* a fû fyw, Plant ir hwn ydiw rhai o honoch chwi.

Ond fy Nhad a minau a wnaethom ddaunaw mhlynedd o heddwch ai Frawd *Esau* ai Blant: A ffan ddarfu y dau-naw mhlynedd, ar ôl ein dyfod ni i fynu o *Mesapotamia*, yn y daugainfed flwyddyn om bywyd, *Esau* Brawd ein Tâd a ddaeth arnom a Llû mawr a chrû, ond êf a Laddwyd gan Fwâ *Jacob*, ac a gariwyd yn Farw i Fynydd *Seir*; a ninau hefyd a gynllanasom ar Blant *Esau*, eithr ei Ddinas êf oedd Gref iawn, a Murie uchel, a ffurth Haiarn a Ffres, fel nas gallem fyned iddi; ond pa fodd bynnag nyni ai caiasom

asom hwynt i fynu ynddi hi, ac ai amgylchasom: Ond yn awr pryd nad oeddent yn ymddangos ei hunain allan dros ugain o ddyddiau yn nghyd, myfi a roddais fy Helm am fy Mhen, ac yn i gwydd hwynt oll i gosodais i fynu Ysgol, a chan ddringo y Mur, myfi a Leddais pedwar oi Gwyr Anrhydeddus hwynt a charreg o bwys tair talent; ar dydd nesaf *Ruben* a *Gad* aethant ac a Laddasant triugain eraill; yna hwy a gynigasant heddwch, a ninau drwy gyngor ein Tâd, ai derbyniasom hwy dan dyrnged, a hwy a roesant ini ddau cant quarter o ŷd, a ffum cant bat o Olew, a mîl a ffum cant mesur o Win; hyd onid aethom i wared ir *Aipht*.

Ac yn ôl hynny *Er* fy Mab a briododd *Thamar* o *Mesapotamia*, Merch *Aram*; ond *Er* ydoedd impin drygionus, ac yn amheus oblygid *Thamar*, am nad oedd hi o Wlad *Canaan*: Oblygid hyn Angel yr Arglwydd ai Lladdodd êf y trydydd nos ar ôl ei briodi, pryd nas darfaseu iddo eto ymgyfeillach a hi, o herwydd cyfrwysdra ei Fam êf, ac felly êf a fu farw yn ei ddrygioni, canis anfodlon ydoedd iddo gael Plant o honi hi.

Ond pan ddaeth *Onan* i amser Priodi, mi a roddais *Thamar* iddo yn Wraig; ac yntau

yntau hefyd o dra gwrthnysigrwydd nid ymgyfeillachodd a hi, eithr gwedi iddo fyw ddwu flynedd gida hi yn gyfan, pan i bygythiais ei êf, yna êf a ymgyfeillachodd, ond etto drwy orchymyn ei Fam, êf a ydawodd yw Hâd syrthio ar y llawr; ac felly bu ynteu hefyd farw yn ei ddrygioni.

A mi a feddyliais hefyd am i rhoddi hi ei *Seilon*, ond fy Ngwraig *Bethsue* nis gagadawe imi, o herwydd hi a grouse *Thamar*, am nad ydoedd o Ferched *Canaan*, megis ac ir ydoedd hitheu.

Eithr myfi a wyddwn mae drygionus ydoedd Blaguryn *Canaan*: Ond etto fe a dwyllodd chwant ieuengtid fy Nghalon, fel ac ir oddwn yn i gweled yn towalld allan Wîn, fyfi a dwyllwyd gan Feddwdod, ac a syrthiais mewn Cariad a hi.

Ond ar ruw amser a myfi oddi-cartref hi a Briododd *Seilon* a Merch o *Ganaan*; ond pan ddeallais ei gweithred, mi ai Melldithiais hi yn chwerwder fy Enaid, ac felly hi a fy farw yn anwiredd ei Meibion.

Ac yn mhen dwy flynedd ar ôl y pethau hyn, fel ir oeddwn i yn myned i Gneifio fy Nefaid, *Thamar* ai ymdrwsiodd ei hunan megis Priod-ferch, ac a eisteddodd i lawr yn Mhorth y Ddinas; canis arfer yr *Amoriaid* oedd, y bydde yw Priodas-ferched hwy

i gofod ei hunein allan yn Mhorth y Dinasoedd dros ysbaid saith nhiwrnod yn nghyd, yw Halogi ei hunain a Godineb; a mineu gwedi Meddwi gan Ddyfroedd *Horek*, nid adnabum hi o herwydd y Gwin, ac yn gimaint a darfod yw thegwch hi yn nghyd ai gwisgiad hi, yn ei ymdrwsio ei hunan, fy nhwyllo ei, ac ar hyn, gan droi heibio gyda hi, mi a ddywedais, A gafi ddyfod i mewn attat ti. A hithau am atebodd: *Pa beth a roddi ditheu i mineu?* A mi a roddais iddi fy Ffon am Gwregis, a Choron fy Nheyrnas; a mi yn ymgyfeillachu a hi, hi a Feichiogodd: Ac ar ôl hynny, myfi heb wybod mae fyfi oedd y gweithredwr o hyn, a fynnwn i rhoddi hi i Farwolaeth am hynny, ond hi a gadwodd fy ngwystyl yn y stock, ac am cywilyddiodd i a hwynt; ond pan glowais i fy ngeiriau fy hunain ganthi hi yn ddirgel, y rhai a ddywedaswn i wrthi hi pan orweddais gyda hi yn fy Meddwdod, nis gallwn i rhoddi hi i Farwolaeth, oblygid gwaith yr Arglwydd oedd; ond nis cyffyrddais a hi mwyach hyd ddydd fy Marwolaeth: Canis pan wneuthym i y ffieidd-dra hwn yn *Israel*, mi a ddywedais, rhag iddi weithredu twyll imi, Mi a gyrchaf adref fy ngwystul oddiwrthi hi; ond pan ymofyrais i am deni hi, Gwyr y Dref a ddywedasant nad oedd yn

y Ddinas

y Ddinas ûn Briod-ferch, canis o le arall i daethe hi, ac nid eisteddase hi yno ond dros ennyd fechan, a hi a dybiodd nas gwyddase neb oddiwrth fy mynediad i mewn atti.

Ac ar ôl hynny ni aethom ir *Aipht* at *Joseph*, o herwydd y Newyn: Chwech a daiugain oedran oeddwn pan ddaethym yma, a thair ar ddeg a thrugain o flynyddoedd i bum ei byw yn y lle hwn.

Ac yn awr fy Meibion, gwrandewch fi eich Tâd yn mhob peth ac ydd ydwyf yn i orchymyn i chwi, a chedwch fy holl orchmynion, gan wneuthyr pob math ar Gyfiawnder oflaen yr Arglwydd, ac ufyddhau Orchmynion y gwir Dduw, ac na rodiwch yn ôl eich trachwantau eich hunain, nag yn ôl dychmygion eich meddyliau, yn malchder eich calonau; ac na orfoleddwch chwaith yn gweithredoedd cryfder eich ieuengtid, oblygid fod hynny yn bechadurus yn ngwydd Duw.

Canis yn gimaint a darfod i mi ymorfoleddu yn fy Rhyfeloedd, a lliwied im brawd *Ruben Bilba* Gwraig fy Nhad, oblygid hyd hynny ni ddarfuasêu ei brydferthwch Gwraig fy nhwillo i, am hynny gwilydd-dra a godineb a syrthiodd arnaf fel im daliwyd gan *Bethsue* y *Canaanites*, a he-

a hefyd gan *Thamar* Gwraig fy Meibion fy hunan.

Ac mi a ddywedais wrth fy Nhad yng-hyfraith, *Mi a wneuthyn fy Nhad yn gydnabyddus ar peth, ac am hynny mi a gymeraf dy Ferch yn Briod i mi.*

Ac ar hynny fe a ddanghofodd i mi bentwr anfeidrol o Aur, megis parthred neu gynhysgaeth ei Ferch, canis êf ydoedd Frenin; a chan i thrwsio hi ac Aur a Pherlau, a ewyllysiodd iddi dowallt allan ini Wîn ar ein swpper.

A thegwch y Ferch, ar Gwîn yn nghud, a dwyllodd fy Llygaid i, a fflefer a siomodd fy nealldwrieth, hyd oni syrthiais mewn Cariad a hi, a chan dorri Gorchymyn Duw ein Tadau, mi ai cymerais hi yn Wraig imi, yn ôl bwriad fy nghalon: Ond yr Arglwydd a dalodd imi hyd adref am hynny, canis ni chefais i lawenydd oddiwrth y Plant a ddug hi imi.

Yn awr gan hynny fy Mhlant na Feddwer chwi gan Wîn, canis Gwîn sydd yn troi dealldwrieth Dyn oddiwrth y gwirionedd, ac yn ennyn yntho Dân trachwant gan arwain ei Lygaid i fewn cyfeiliornad yn gimaint a bod Gwîn yn Wâs Ysbryd Trathyllwch, i helaethu ymborthiad y meddwl ar drachwant, fellu y ddau hyn sydd

yn difyddio Dyn oi holl allu: Canis os yfiff Gwr Wîn hyd oni Feddwo, i mae êf yn hyfforddi ei feddwl mewn budr amcanion trythyllwch, ac yn ennyn y Corph i gnowdol gyfeillach: Ac os dymunol achlysur a geir, pechod a weithredi yn ddigwilidd: Y cyfriw, fy Meibion, ydiw Gwîn, canis nid oes ar y Meddw gwilidd o ddim.

Wele fe a wnaeth imi a *Thamar* wneuthyr ar fai, fel nas cywilyddiais wrth amldra y Bobl yn y Ddinas, eithr mi a droesym meibio gyda hi yn i gwydd hwnt ôll, ac a weithredais Bechod mawr, drwy ddatgiddio dirgel aflendid fy Meibion fy hunan.

Wrth yfed Gwîn ni bu gwilidd arnaf dorri Gorchymyn Duw, drwy gymeryd Merch o *Canaan* yn Wraig imi.

Gan hynny fy Meibion, angenrheidiol yw bob ûn a yfo Wîn fod yn Ddoeth, ar Doethineb a ddyleu fod gan bob ûn wrth yfed Gwîn yw, bod arno gywilidd o yfed ormod; canis os êf a eiff y tu hwynt ir terfun yma, mae êf yn colli ei Ddealldwrieth, ac yn glynu wrth Ysbryd Cyfeiliornad, yr hwn fydd yn peri ir Meddwyn siarad ffyntni, a gwneuthyr drygioni yn ddigwilidd, ac ymffrostio oi ddrygioni, gan dybied mae da yw.

Y rhai

Y rhai ſydd yn gwneuthyr Godineb ſydd yn i difyddio ei hunain or rhydd-did, ac yn dyfod yn gaeth-weiſion i drythyllwch, ac heb allu dyfod allan o honaw drachefn, megis ac im noethwyd ineu: Canis mi a roddais fy Ffon, hynny ydiw, *Atreg ſy Llwyth*: Am Gwregis, hynny ydiw, *Fy Ngallu*: Am Coron, hynny ydiw, *Gogoniant ſy Nheyrnas.* Ond pa fodd bynag, gan edifarhau, mi a roesym ymaith bob Gwin a Chig-hyd fy henaint; ac a fum yn gwbl anghydnabyddus a Llawenydd.

Ac Angel yr Arglwydd a ddanghoſodd imi, i bydde i Wragedd o amſer i amſer feiſtrioli pob Gwr, yn gyſdlad Brenhinoedd a Chaethion, a difuddio Gwyr mowrion oi Gogoniant: Canis trueni y Tlawd ſydd fwy achles iddo na chryſder y Galluog.

Am hynny ſy Meibion cedwch feſur wrth yfed, canis mae yntho bedwar Ysbryd gwenwynllyd, ſef, *O drachwant*, *o Galon-loſgfa*, *o Drathyllwch, ac o Fudr Elw.*

Os yfwch chwi Win yn llawen, ac yn ofn yr Arglwydd, gyda chrychwyledd, chwi a fyddwch byw: Eithr os yfwch yn ddibris ac yn ddigwilidd, heb ofn Duw, yna i troiff êf yn Feddwdod, ac i lladrateiff ffalſedd i fewn.

Eithr

Eithr os chwi nid ysfwch ddim Gwîn, yna ni ffechwch, nag mewn geirieu enllibgar, nag mewn ymrysonedd, nag mewn cabledd, na thrwy dorri gorchmynion yr Arglwydd; ac ni ddifethir chwi cyn yr amser: Oblygid Gwîn sydd yn datguddio dirgelion Duw a Dyn i Ddieithred, megis ac ir amlygais i ddirgeledigaethau Duw, am Tâd *Jacob* i *Bethsue* y *Canaanites*, y rhai i gwaharddasai i datguddio iddint. Gwîn sydd achos o rysel ac ymrafusedd.

Yn mhellach fy Meibion, ydd ydwyfi yn gorchymyn i chwi na charoch Arian, ac nag edrychoch ar degwch Merched; canis Arian a thegwch Merched a barodd imi fyned yn rhu bell yn mherthynas *Bethsue* y *Ganaanites*. Ac i mae yn siccir genif y bydd ir ddau beth hyn lygru fy Hiliogeth, a gwrthuno Gwyr Doethion on Llin i, a neweidio Teyrnas *Juda*, yr hon a roddes Duw i mi am ufyddhau im Tâd: Canis ni ddarfu imi yr ioed rwgnach wrth orchymyn fy Nhad *Jacob*, ond a wneuthym pa beth bynnag a orchmynai.

Ac *Abraham* Tâd fy Nhadae am Bendithiodd i ymladd dros *Israel*; ac felly *Isaac* am Bendithiodd i yn yr ûn modd: Ac ir ydwyf yn gwubod mae trwyo fi y sau y Deyrnas.

Ond mi a Ddarllenais yn Llyfr *Enoch* y Cyfiawn, y bydd i chwi weithredu Drygioni yn y dyddie diweddaf.

Am hynny fy Mhlant, ymgedwch eich hunain oddiwrth Gybydd-dra a Thrythyllwch, a rhoddwch Gluſt eich Tâd *Juda*; canis y pethau hynny ſydd yn tynnu Dynion oddiwrth Gyfraith Dduw, ac yn dallu dealldwrieth y Meddyliau, gan ddyſcu iddynt falchder; ac ni chynwys i un-dyn chwaith ddangos Trugaredd yw Gymydog: Maent hefyd yn difwyno ei Enaid o bob daioni, ac yn i ddal êf i lawr mewn poenau a gofidiau, ac yn i ddiddymmu oi gwſg ac oi orffwyſdra, ac yn difetha i gnawd êf: Ac yn ddiweddaf, maent yn rhwyſtro Aberthau Duw, ac yn yſgluſo i Fendithion êf; yn anufyddhau i eiriau y Prophwydi, ac yn tramgwyddo wrth air o Dduwioldeb; canis y ddau beth niweidiol yma ydynt yn y gwrthwyneb i Orchmynion Duw: Ar hwn ai gwaſaneutho hwynt nis gall ufyddhau i Dduw, oblygid i maent yn cymyſcu meddyliau Dynion, ac yn rhodio oddiamgylch yn gyſdlad y nos ar dydd.

Fy Mhlant, Cybydd-dod ſydd yn arwain i Eulin Addoliad; canis wrth ynfydu yn nghylch Arian, i mae yn galw yn Dduwiau y rhai nid ydynt, ac yn anog y blaid glwy-

fedig

ſedig allan o fath i briſio yn dra gwael:
Canis o achos Arian i collais i fy Mhlant, ac
oni buaſeu i mi boenydio a [illegible]
Nghorph am Enaid, ac oni buaſ[illegible]
fy Nhad *Jacob*, mi a faſwn fa[illegible]
blant: Ond Duw fy Nhadau yr [illegible]
raſlawn, ac yn llawn toſturi a thrugaredd,
a wybu mae trwy anwybodeth i pechaſwn i,
o herwydd Tywyſog Cyſeiliorni am dallodd,
a mineu am gollyngais fy hûn yn rhu bell,
megis Dyn cnowdol, gan ymlygru a phechod,
nid-adnabum fy ngwendid fy hunan, eithr
mi a dybiais am danaf fy hunan nas gellid
mom gorchfygu i.

Gwybyddwch gan hynny fy Meibion, fod
dau Ysbryd yn diſgwil wrth Ddyn, ſef
Ysbryd Gwirionedd, ac Ysbryd Cyfeiliornad,
rhwng y ddau hynn i goſodir Ysbryd Deall-
dwrieth y Meddwl, priodolieth pa ûn ydiw
tueddu lle ir ewyllyſion. Y pethau ſydd yn
perthyn ei Wirionedd ac i Anwiredd ydynt
ſcrifenedig yn Monwes Dyn, a Duw ſydd
yn gwybed pob tipin o honaw, ac ni ddichon
yr ûn o weithredoedd Dynion fod yn gudd-
iedig oddiwrtho êf, canis holl ddirgel-
edigaethau Calonau Meibion Dynion ydynt
Scrifenedig o flaen yr Arglwydd. ac Ysbryd
y Gwirionedd ſydd yn dwyn Tyſtioleth or
holl bethau, ac yn cyhuddo y cwbl, ar hwn

 ſydd

ſydd yn Pechu ſydd a lloſgfa yn ei Galon, ac ni ddichon dderchafu ei Wyneb at ei F[illegible]. [illegible] fy Mhlant cerwch chwi *Levi* [illegible]chwi bara, ac nad ymddarchefu[illegible]hunain uwch i law êf rhag eich [illegible] Yr Arglwydd a roddodd imi y Deyrnas, ac ei *Levi* yr Offeiriadeth, ac a roddodd y Deyrnas dan yr Offeiriadeth. I mi a rhoddodd êf y pethau ydynt ar y Ddaiar, ac eiddo yntau y pethau ſydd yn y Nefoedd. Cyſiwch ac yw 'r Nefoedd uwch law yr Ddaiar, felly i mae yr Offeiriadeth uwch law yr Deyrnas ſydd ar y Ddaiar. Canis yr Arglwydd ai dewiſodd êf om blaen i, i neſau atto êf, i fwyta oi Fwrdd, ac i gymeryd Blaen ffrwythydd Meibion *Iſrael*, a thi a fyddi megis Môr iddo êf; canis megis ac yn y Môr i peryglir y Cyfiawn ar Anghyfiawn, y naill fath a ddelir yn Garcharorion, ar fath arall a Gyfaethogir; ac fellu caiff pob math ar Ddynion ei peryglu ynot ti, rhai yn ſoddi mewn trieni, a rhai eraill yn ymdrochi mewn hawddfyd: Canis ynot ti i rheola y Môrfilod, y rhai a lynca i fynu Ddynion fel Pyſgod, ac a ddygant Feibion a Merched ei Wyrrhyddion i Gaethiwed; a hwy a gymerant ymaith Dai, Tiroedd, Anifeilaid, ac Arian

Dynion

Dynion drwy drais; hwy a Aberthant [illegible] tranod, ac Adar gwancus crai[illegible] Gnawdiau y Praidd drwy drow[illegible] a lwyddant ac a flodeuant mew[illegible] ac a ymdderchafant drwy gybydd-[illegible] a bydd gau Brophwydi megis tymestl, y rhai a erlidiant ry holl rai Cyfiawn: Ond yr Arglwydd ai gesyd hwy yn nghyd o erbyn y Clusdiau yn i plith ei hunain, a bydd gwasdadol Ryfel yn *Israel*, am Teyrnas i geuir i fynu gan Ddiei hred, hyd oni ddelo Achubwr *Israel*, sef Duw y Cyfiawnder, fel i gorffwyso *Jacob*, ar holl Genhedloedd, mewn Tyngnhefedd, ac ef a geidw fy Nheyrnas mewn heddwch yn Dragwyddol: Canis yr Arglwydd a Dyngodd, *Na byddeu im Teyrnas i, nag im Had ddiflanu hyd ddiwedd y Byd.*

Ond mae yn ddrwg iawn genif, fy Meibion, o herwydd yr aflendid, ar traetirieth, ar eulyn addolieth a weithredwch chwi yn erbyn y Deyrnas, drwy ddilin Swyngafareddwyr a Chonsurwyr, a thrwy Addunedu eich Merched i Gythreilied twyllodrus, drwy i gwneuthur hwy yn Dywinesau, yn Swyn-wragedd, ac yn Buteinied, a thrwy eich cymysgu eich hunain a ffieidd-dra y Cenhedloedd: Am yr hyn beth yr Arglwydd a ddwg arnoch *Newyn, Haint, Marwolaeth,*

*[illegible]geth, ar Gleddyf, a Digllon Warchadigeth, [illegible] friol, Gwradwydd Cyfeillion a Ge-[illegible]en a cholled och Llygaid, Lladd [illegible] Plant, Treisio eich Gwragedd, Anrheithio eich Da, Llosgu eich Temlau, Anghyfneddu eich Gwlad, ach Caethiwo chwitheu eich hunain yn mysg yr holl Genhedloedd, y rhai a Ddysbaddant rai o honoch i wneuthyr Eunuchiaid iw Gwragedd*: Ond os dychwelwch chwi at yr Arglwydd mewn Edifeirwch Calon a Gostyngeiddrwydd, gan rodio yn holl Orchmynion Duw, efe a ymwel a chwi yn drugarog, ac yn garedig ach gwared chwi oddiwrth Gaethiwed eich Gelynion.

Ac yn ôl hyn i cyfodiff Seren allan o *Jacob*, ac om Hâd i a terddiff allan Wr, yr hwn a rodia megis Haul y Cyfiawnder yn mysg Meibion Dynion, mewn Tyngnhefedd, Gostyngeiddrwydd a Chyfiawnder, ac yntho êf ni cheir Pechod. Y Nefoedd a egoriff i dowalld allan Ysbryd y Fendith arno êf oddiwrth y Tâd; ac Ysbryd Gras a dowelldiff êf arnoch chwitheu, a chwi a fyddwch Blant iddo êf mewn gwirionedd, yn rhodio yn y cyntaf ar diweddaf oi Orchmynion. Dyma flagurun y Gorucha Dduw, a ffynno Bywyd pob Cnawd.

Yna Teyrnwialen fy Nheyrnas a dywyna yn eglur, ac allan och gwreiddin chwi y

terddiff

terddiff allan Lester Plannu, yn mha ûn i tyfiff i fynu Wialen Cyfiawnder ir Cynhedloedd, i Farnu, ac i Wared cynifer ac a alwo arno êf.

Ac yn ôl hynny *Abraham*, *Isaac* a *Jacob* a adgyfodant eilwaith i Fywyd, a mineu ar Twysogion fy Mrodyr, a fydd eich Teyrnwialen yn *Israel*: *Levi* yn gyntaf, mineu yn ail; *Joseph* yn drydydd, *Benjamin* yn bedwerydd, *Simeon* yn bummed, *Isachar* yn chweched; ac fell y lleill i gid. Ar Arglwydd an Bendithiodd ni. *Levi* a fydd yn Genad fy Mrhesenoldeb, *Simeon* Gallu sy Ngogoniant; *Ruben* Nefoedd, *Isachar* Daiar; *Zebulon* y Môr, *Joseph* Mynyddoedd, *Benjamin* Pebull, *Dan* Goleuadau, *Naphtali* Danteithion, *Gad* Haul y Dydd, *Aser* Oliwydden: Ac ûn Bobl a fyddant ir Arglwydd.

Belial dwyllodrus mi bydd mwuach, oblygid êf a fwrir ir Tân diddiwedd.

Ar rhai a gleddir mewn Tristwch, a gyfodant mewn Gogoniant.

Ar rhai oeddent yn Dlawd er mwyn yr Arglwydd, a Gyfaethogir.

Y rhai a ddioddefasant Brinder, a Ddiwellir.

Ar rhai a fuant Weinied, a Gadarnheir.

Ar

Ar rhai a fuant Feirw er mwyn yr Arglwydd, a Ddeffroant i fynu i Fywyd, ac a redant yn *Jacob*; ie gan lammu a neidio bwy a redant, ac a hedant megis Eryrod o lawenydd.

Ond yr Anuwiol a fydd Truſt, ar Pechaduriaid y Alarant; ar holl Bobl a Ogoneddant yr Arglwydd yn dragywydd.

Gan hynny fy Mhlant, cedwch holl Gyfraith yr Arglwydd; oblygid mae gobaith ir holl rai a rediant yn inion.

Cant a ffeder ar bymtheg o flynyddoedd ydiw fy oedran i yn marw yn eich gwydd chwi.

Na bydded ir ûn o honoch fy Nghladdu i mewn dillad coſtfawr, ac na egorwch fy Môl, o herwydd fellu i gwna Rheolwyr; ond ceriwch fi yn ôl i *Hebron* gyda chwi.

*Ar y Geiriau hyn* JUDA *a fy Farw; ai Blant gan wneuthur ar* ôl *pob peth a orchmynaſai, ai Claddaſant efe yn* Hebron *gyda ei Dadau.*

Iſachar

*Isachar y alwau yn grouw*
*Yn nghyd i gid ei Blant wrth farw,*
*Fe a ddaede am gadw calon seingiel,*
*bywyd pur, ac oesau isel.*

TESTAMENT *ISACHAR a wnaeth efe yw Blant wrth ei Farwoleth yn nghilch Symlrhwydd-Calon.*

COppiad o Eiriau *Isachar*; êf gan alw ei Blant oi amgylch a ddywedodd wrthynt:

Chwi Blant *Isachar*, gwrandewch eich Tad, a rhoddwch Glust i anwylyd yr Arglwydd: Myfi ydwyf y pumed Fab ei *Jacob*, yn ngwobor y Mandragorau. Oblygid *Ruben* a ddygoedd Fandragorau allan, or Maes, a *Rachel* yn i gyfarfod êf, ai cymerth hwynt oddiwrtho; yna *Ruben* a lefodd, ac wrth ei waedd êf fy Mam *Lea* a ddaeth allan, (yn awr y Mandragorau oeddent Afalau pêr aroglus, y rhai ir ydoedd

y Tir *Aram* yn i ddwyn allan yn y gwledydd uchel, wrth Ddyfroedd y Dyffrynoedd) a *Rachel* a ddywedoedd, *Nis rhoddaf yr Afalau hyn iti, canis hwynt am cynorthwyant i Blanta*: A dau ydoedd or Afalau.

Yna *Lea* a ddywedodd, *Ai nid yw ddigon iti gymeryd ymaith Wr fy Morwyndod, ond a fyni di y rhain hefyd?*

A hithe y attebodd, *Gorwedded* Jacob *gyda thi y nos hon am Fandragorau dy Fab.*

A *Lea* a ddywedodd wrthi hi, *Nag ymffrostia, ac na ymfalchia, oblygid eiddo fi ydiw* Jacob, *ac myfi ydiw Gwraig ei ieuengtid efe.*

Yna *Rachel* attebodd, *Pa fodd felly? Oni rwymwyd efe yn gyntaf a myfi? Ac onis Gwasanaethodd efe ein Tad ni bedair blynedd ar ddeg am danaf fi? Beth a wnaf iti? Canis aml ydiw dichellion a chyfrwysdra Dynion, yr hwn sydd yn myned rhagddo ar y Ddaiar; pa buasseu y peth ffordd arall, ni chawsit ti weled Wyneb* Jacob *y dydd hwn; canis nid ei Wraig efe ydwyt ti, ond fe athroddwyd yn dwyllodrus atto efe yn fy lle i; canis fy Nhad am twyllodd i, gan fy nhroi heibio y noson hono, nis gadawodd i mi i weled efe; oblygid pa buaswn i yno in ddaethe hyn i ben: Gan hynny cymer di* ûn *or Mandragorau,*

*dragorau, ac yn lle y llall ydd ydwyf yn i ganiatau efe iti dros* ûn *noswaith.*

A *Jacob* a adnabu *Lea*, yr hon a gan Feichiogi, a esgorodd arnsi, ac a alodd sy enw i *Isachar*, o herwydd y Cyflog.

Yna Angel yr Arglwydd a ymddanghosodd i *Jacob*, ac a ddywedodd, nas dygau *Rachel* ond dau o Feibion, oblygid iddi adel cymydeithas ei Gwr, a dewis ymattal; a pha buasseu sy Mam *Lea* heb roddi y ddau Afal am ei gymydeithas ef, hi a fuasseu yn dwyn wyth o Blant, ond oblygid hynny nis ymddug hi onid chwech, a *Rachel* ddau, am i Dduw ymweled a hi yn y Mandragorau: canis fe a wydde i bod hi yn chwenych cymdeithasu a *Jacob* er mwyn cael Hepil, ac nid er mwyn trachwan a ffleser; oblygid hi a gadwodd y Mandragorau, ac ai rhoddes i *Jacob* y dydd cyntaf, a chan hynny Duw a wrandawodd *Rachel* yn y Mandragorau, oblygid er iddi i chwantu hwynt, etto ni fwytaoedd monynt, eithr hi ai Offrymodd hwynt ei Offeiriad y Gorucha, yr hwn ydoedd yn y dyddie hynny, ac ai gosododd hwynt i fynu yn Nhu yr Arglwydd.

Yno sy Mhlant, pan ddaethym i gyflwr Gwr, mi a rodiais a Chalon inion, ac a ddaethym yn Olygwr ar Ysmonaeth sy

Nhadau, ac a ddygais iddynt ffrwythau ei Tiroedd mewn amser cyfaddas; am Tad am Bendithiodd i pan welodd efe y modd i rhodiais yn inion ac yn syml; nid oeddwn ysmala yn fy ngweithredoedd, nag yn sceler i ddrygu fy Nghymdogion, ni cheblais i undyn, ac ni ogenais i fywyd neb ar a rodie mewn symlrhwydd meddwl.

A ffan oedwn i yn ddeg ar hugain i cymerais i Wraig, o herwydd i lafur dreilio fy Nerth, nid adnabum i ddifyrwch Merch drwy drathyllwch, ond fy llafur a wnae imi gysgu yn drwm; am Tad ydoedd yn wastadol yn ymlawenhychu yn fy symlrwydd i; oblygid pa boen bynag a gymerwn, yn gyntaf or cwbl mi a Offrymwn y Blaen-ffrwyth or cyntaf-enedig or Anifeilied ir Arglwydd drwy yr Offeiriad, ac a roddwn im Tad y gweddill, ar Arglwydd a ddyblodd ei roddion yn fy Nwylo i; ie *Jacob* i hunan a wybu fod Duw yn cyd-weithio gyda mi am fy inion ymddygiad ei; canis i bob Dyn tlawd, ac i bob Dyn mewn cystydd, i rhoddais ie ffrwyth y Ddaiar a chalon seingel.

Ac yn awr fy Mhlant, gwrandewch arnaf, a rhodiwch a Chalon ac a Meddwl Syml, oblygid mi a wn fod yr Arglwydd yn cwbwl ymfydloni yntho, canis y Gwr ar Galon Syml nid ydiw yn chwenych Aur,

nag

nag yn Didroidi ei gymydog, nid yw yn chwantu amryw fwydydd, nag chwaith yn chwenych ymwychu mewn dillad, nag yn ymdderchafu ei hûn yn hir o amſer, ond yn unig ſydd gantho Lygad at ewyllys Duw; ni ddichon Ysbryd Cyfeiliornad wneuthyd dim yn i erbun êf, o herwydd nis gwyr êf pa fodd i groeſawu merch lân, rhag iddo halogi ei Feddwl ei hun, a digofaint ni feiſtrola ei Synwyr êf, a chynfigen ni thawdd moi Enaid êf; a chwaith nid yw ei Feddwl êf yn rhedeg yn gybyddus ar Elw, oblygid mae êf yn arwen bywyd inion, ac yn edrych ar bob peth a golwg ſyml, gan gau allan bob niweidiol a bydol gyfeiliornad, rhag iddo edrych dros ûn o orchmynion Duw.

Gan hynny fy Mhlant, cedwch Gyfraith Duw, a deliwch yn dynn at iniondeb, a rhodiwch rhagoch mewn dinewiedrwydd, ac na byddwch rû ymofyngar yn nirgelion yr Arglwydd, neu weithredoedd eich Cymydogion, Toſtiriwch wrth y Tlawd ar Gwan, Cerwch Dduw ach Cymydogion, plygwch i lawr eich Cefnau at Yſmonaith, byddwch ddiwid i Lafurio y Ddaiar, a ffob math ar Yſmonaith, gan Offrymu ir Arglwydd Anrhegion gyda Diolchgarwch, yr hwn a Fendithiodd y Ddaiar a chynydd, ac a newydd darddiad ffrwythau, megis ac i Bendithiodd

êf

e etto a ymgeidw oddiwrth Fwydydd, i Ymprydd êf fydd ddrwg, canis mae êf yn gwneuthyr y Gorchmynion a Chalon ddrwg, llyna ddeiliad dau Wynebog, yr hyn i gyd fydd ddrwg. Y cyfriw Bobl ydynt inion megis Môch ac Ysgafarnogod, canis maent yn ymddangos yn hanner glân; ond yn y weithred maent hwy yn hollawl aflân.

Am hynny fy Mhlant, na fyddwch debig iddynt, ac na ddygwch ddau Wyneb dan ûn Benwisg,, y naill o ddrygioni, ar llall o ddaioni, eithr glynwch oll wrth y daioni; canis yn y daioni i mae gorffwusfa yr Arglwydd, a Dynion da ai hoffant: Gochelwch ddrygioni, a lleddwch y Diafol yn eich gweithredoed da. Y rhai dau Wynebog nid ydynt yn gwasanaethu Duw, ond i trachwantae ei hunain; oherwydd i bod hwy yn ceisio bodloni Belial, ar cyfriw ac ydynt debig iddynt i hunain.

Ac yn awr, y cyfriw ac ydynt inion yn ei hymddygiad, ac yn ymddanos yn ûn Wynebog, ydynt yn cael ei cymeryd am droseddwyr gan y ddau Wynebog; etto inion ydynt o flaen yr Arglwydd: i mae llawer drwy reddi Dynion drwg i farwolaeth yn gwneuthyr dwy weithred ar ûnwaith, sef daioni drwy ddrygioni; ond i mae yr holl weithred yn ddaionus, ob'ygid yr hwn

 a ddi-

a ddiwreiddiodd allan y drwg ai di nistriodd êf.

Rhuw ûn gan gasau ei Gymydog, yn anrhugarog a feia arno am ei Ledrad, y cyfriw ûn sydd ddau Wynebog; ond etto mae ei holl weithred êf yn dda, oherwydd i fod êf yn dilin esampl yr Arglwydd, gan beidio a gwneuthyr cyfri or peth sydd yn ymddangos yn dda, pan fytho êf yn ddrygionis yn ddiau.

Un arall nid ymlawenhycha gyda Gloddestwyr rhag i lygru êf ganthynt hwy, ac fellu difwyno ei Enaid: i mae y Dyn yma yn ddau Wynebog, etto ei weithredoedd ydynt dda; ac i mae êf megis Iwrch neu Hydd, y rhai mewn mintai o Anifeiliaid aflân gwylldion a dybygir i bod hwythau yn aflân, ac etto i maent yn gwbwl lân; fellu am y Dyn, oherwydd i fod êf yn rhodio yn zeal yr Arglwydd, gan ochelyd a chasau y rhai i Gorchmynodd Duw i gochelyd yn ei Orchmynion; ac fellu yn lladd y drwg drwy wneuthyr yn dda.

Gwelwch gan hynny fy Meibion, y modd i mae dau yn mhob peth, y naill yn erbyn y llall, ar naill yn guddiedig dan y llall: Marwolaeth yn canllyn Bywyd, Cwilidd yn canllyn Gogoniant, Nôs i Ddydd, a Thywyllwch i Oleini. Yr holl bethau Cyfiawn

ydynt

ydynt dan Fywyd a Goleini; am hyny y mae Bywyd Tragwyddol yn rheoli ar Farwolaeth. Ac nid cymwus dywedyd fod y Gwirionedd yn Anwiredd, Cyfiawnder yn Anghyfiawnder, ac Uniondeb yn Gam; canis megis ac i mae pob peth dan Dduw, fellu y Gwirionedd oll fydd dan y Goleini.

Mi a arferais yr holl bethau hyn yn fy Mywyd, ac ni Chyfeiliornais oddiwrth Wirionedd yr Arglwydd, eithr ymgeisiais a Gorchmynion y Gorucha hyd yr eitha om gallu, ac a rodiais ac ûn Wyneb mewn daioni.

Byddwch ofalus gan hynny, fy Mhlant, tu ac at Orchmynion yr Arglwydd, a dilynwch y Gwirionedd ac ûn Wyneb fyml: Canis y rhai fydd ddyblig ei Wynebau, a ddyblir ei Poenau; Ysbryd Cyfeiliornus fydd yn casau yr hwn fydd yn ymladd yn i erbyn.

Cedwch Gyfraith yr Arglwydd, ac na wnewch gyfri or rhai drwg fydd yn ymddangos yn dda, ond bydded eich golygon at yr hyn fydd dda mewn gwirionedd, a chedwch yr unrhiw, gan ddychwelyd at yr Arglwydd yn ei holl Orchmynion, a gorffwys arno ëf; canis y dibenion at ba rai i mae Dynion yn tûeddu, fydd yn dangos ei cyfiawnder;

cyfiawnder; ac adnabyddwch Angylion yr Arglwydd oddiwrth Angylion Satan.

Canis os chwi a lyniff wrth Ysbrydoedd Drygionis; eich Eneidiau chwi a boenir gan yr Ysbrydion hynny, y rhai a wasanaethoch mewn chwantau a gweithredoedd drygionis. Ond os bydd i chwi yn llonydd ac yn gysurus fod yn gydnabyddus ac Angel Tyngnhefedd ef ach cysura chwi yn holl amser eich Bywyd.

Fy Mhlant, na fyddwch fel y *Sodomiaid*, y rhai nid adnabuant yr Angel, ac a gollwyd yn dragywydd: Canis i mae yn siccir geni fi y bydd i chwi bechu, chwi a draddodir ei ddwylaw eich Gelynion, eich Tir y anrheithir, a chwithau a wasgerir i bedair congol y Ddaiar, a chwi a ddirmygir megis Dyfroedd aflefol yn eich gwasgariad ar lêd, hyd oni ymwelo y Goruchaf ar Ddaiar, gan Fwyta ac Yfed megis Dyn, gyda Dynion, a chan dorri Pen y Sarph heb drwst; ef a weryd *Israel* ar holl Genhedloedd drwy Ddyfr, wrth fod Duw yn guddiedig mewn Dyn.

Gan hynny mynegwch eich Plant y pethau hyn, fel na bo iddynt ysgluso Cyfraith Dduw yr hon sydd Scrifenedig yn Llechau yr Nefoedd: Canis amser a ddaw pryd na choiliant Gyfraith yr Arglwydd, a chwi

gan

gan syrthio i ddrygioni a weithredwch yn anwireddus yn erbyn Duw, gan ddiystyru ei Gyfraith ef, drwy ufyddhau ei Orchmynion Dynion.

Oblygid hyn i gwasgerir chwi oddiamgylch, fel fy Mrodyr *Gad* a *Dan*, y rhai nid oeddent yn gydnabyddus ai Gwlad ei hunain, ei Llwyth ai Tafodiaith.

Etto yr Arglwydd ach casgliff yn nghyd drachefn yn y ffydd, er mwyn gobaith ei drugaredd, ac er mwyn *Abraham*, *Isaac*, a *Jacob*.

*Ac wedi iddo lysaru y pethau hyn, efe a orchmynodd i Gladdu yn* Hebron; *ac efe y su Farw, gan gysgu cwsg da: Ac ar* ôl *hyny ei Feibion gan wneuthyr megis ac ir ewyllysiodd, ai dygasant efe yn* ôl, *ac ai Claddasant efe gyda ei Dadau*.

---

Joseph

Joseph wâr *glauar ei glod,*
*Ddownus, ai ddonie sydd hynod*
*Dioddefodd mae da i ddyfod*
*Ir saintaidd yn niwedd y nod.*

TESTAMENT *JOSEPH a wnaeth efe iw Blant wrth Farw yn nghilch Diweirdeb.*

FY Meibion, am Brodyr, gwrandewch ar anwylyd *Israel*: Fy Mlhant gwrandewch eich Tad: Mi y adnabum yn fy Mywyd Gynfigen a Marwolaeth, a ffa rai i myneu fy Mrodyr fy nifetha; canis hwy am casasant, ond yr Arglwydd am carodd: Hwynt hwy a fynent fy Lladd i, ond Duw fy Nhadau am cadwodd ei yn Fyw: Hwy am rhoddasant yn y Pydew, ond y Goruchaf am dygodd ei allan drachefn: Fe am gwerthwyd megis Caethwâs, ond yr Arglwydd am gwnaeth ei yn Rhydd, ai Law Nerthol ef am helpodd ei: Fe am cadwyd i Newynu, ond Duw ei hun am Maethiodd ei: Fe am

ga-

gadawyd yn vnig, cnd yr Arglwydd am cysurodd ei: Mysi a fûm yn glaf, ond yr Arglwydd a ymwelodd a mi: Mi a fûm yn ngharchar, ar Achubwr am gwnaeth ei yn llawen: Fe am siccirhawd ei mewn cadweint, ond yr Arglwydd a ddattododd fy rhwumau; ac êf a ddadleuodd fy achos yn achwynieth yr *Aiphtwyr*; ac nid yn unig am gwaredodd ei oddiwrth gynfigen a thwyll, ond hefyd am derchafodd ei, yn gimaint ac ei *Putiphar*, pen Distain Ty *Pharaoh*, roddi i mi le i leteua, lle i bum ei mewn perigl am fy hoedl, o achos Gwraig ddigwilidd, yr hon am hude i wneuthyr drygioni gyda hi, drwy fflam o drachwnt yr hon ydoedd yn llosgi ogwmpas ei Dwyfron hi: Fe am bwriwyd i garchar oi fflegid hi: A mi a gurwyd ac a watworwyd, ond yr Arglwydd a gynhyrfodd geidwad y carchar i ddangos trugaredd tua ac ata fi.

Nis gad êf y rhai ai hofnant mewn tywyllwch, nag mewn rhwymau, na chwaith mewn trwblaethau nag eisiau.

Nid ydiw Duw y cywilyddio megis Dynion, ac nid ydiw êf yn arswudo megis Dynion; nid iw êf yn llafaru, nag yn ysgogi rhag ofn Dynion daiarol; i mae êf yn bresenol yn mhob man; ac yn ei gofidus brudd-der mae êf yn cysuro yr eiddo: Mae

êf yn myned ymaith dros amser, i brofi amcanion ei meddyliau hwynt: Fe am cafodd ei yn ffyddlawn mewn deg o Brofydigaethae, ac yn mhob un o honynt mi a fum ſyfydlog, ac fe am cadwyd. Canis dioddefgarwch ſydd feddiginieth fawr, ac yn peri llawer o ddaioni.

Pa cyn ſynyched y darfu ir *Aiphtaid* ſygwth fy marwolaeth? A ffa cyn ſynyched im cyſdyddiwyd? ac etto y Wraig am galwe i drachefn. O mor ſynych i bygythie fy marwolaeth ei, am na fydde i mi a wnawn a hi!

Hi a ddywede wrthiſ: *Ti a gei lyfodraethu arnaf, ac ar gwbl oll ac ſydd eiddo fi, os tydi a'th rydd dy hunan i minnau, ac ufyddhau im dymuniad, ti a gei arglwyddiaethu arnom.*

Eithr mi a gofiais eiriau fy Nhad *Jacob*, a chan fyned im Stafell, mi a weddiais at yr Arglwydd; ac a Ymprydiais ſaith nhiwrnod; er hyn ir oeddwn ei yn ymddangos ir *Aiphtwyr* megis yn yr unrhiw gyflwr yn fy Nghorph, a ffa bafwn yn byw mewn pleſerau a difyrwch: O herwydd y rhai a Ymprydiant ir Arglwydd, ſydd yn derbyn tegwch wynebpryd.

Pan roid i mi Win, nid yfwn o hono: a chan Ymprydio drachefn dridiae, mi a gymerwn

merwn fy mwyd, ac ai rhoddwn ir claf ar anghenog, ac yn forau i deffrown ei at yr Arglwydd, ac a wylwn oherwydd *Memphetica* yr *Aipht-wraig*, canis fy mlino ei yr ydoedd hi beunydd.

Hi a ddeue ata fi yn y nôs, megis pa bae hi yn dyfod i ymweled a mi: Ac yn gyntaf, o herwydd nad oedd iddi Fab, hi a gymere arni fy nghymeryd megis yn Fab iddi, a mi a weddiais ar Dduw roddi Mab iddi, hyd ruw amser im cowleidiodd fi megis pa bafwn Mab iddi, a mineu heb ddirnad yr achos.

Ac yn y diwedd, hi a fyne fy nhynu i wneuthyr Godineb gyda hi; a mineu gan fy ngalw fy hûn i goffadwriaeth, a fum gyftyddedig hyd ange.

A ffan aeth hi allan, mi a ddaethym attaf fy hûn, ac a alerais dros amriw ddyddiau; canis mi a ddeallais ei thwyll ai chyfeiliornad: A mi a laferais wrthi hi eiriau y Gorucha Dduw, fel os bydde possibi i dychwelyd hi oddiwrth ei angheupl drachwant.

Ac amriw amserau i llafarae hi wrthyf eiriau gwenheuthus, megis wrth Wr sainctaidd, ond nid heb dwyll, gan glodfori fy mhrydferthwch, am gonestrwydd ei ger bron ei Gwr, yr hwn a fyne yn gwibl fy nifdriwio.

Yn gyhouddus ac yn ddirgel hi a ddywede wrthif: *Nag ofna mom Gwr, canis mae efe gwedi cael bodlonrhwydd oherwydd dy ddiweirdeb di; ac os bydd i neb hysbysu iddo om plegid ei a thithau, ni bydd iddo efe gredu mo hynny.*

Ac oherwydd y pethau hyn, i gorchguddiais fi fy hunan mewn Sach-liain, ac ei gorweddais ar y Ddaiar, ac ei gweddiais at yr Holl-alluog, ar iddo êf fy ngwared ei oddiwrth yr *Aipht-wraig* hon.

A chan nad alleu hi wneuthyr dim yn y ffordd hon, hi a ddaeth attaf fi drachefn gwedi ei harfogi a rhesymau eraill, sef ei bod hi yn chwenych dyscu gair Duw geni fi, ac a ddechreuodd lesaru yn y modd hyn: *Os myni di i mi ymadel am Heulynod, dilin fy nyminiad, a mineu a gynghoraf fy Ngwr yr* Aipht-ddyn *i fyned ynteu oddiwrth ei Eulynaddolieth, a ni a rodiwn yn Nghyfraith dy Dduw di.*

Yna ir attebais ineu ir pethau hyn, Ni fun Duw neb iw addoli êf mewn aflendid, ac nid oes gantho bleser mewn godinebwyr: Ac ar hynny hi a dawodd, gan ddymuned cyflowni ei thrachwant. A mineu a Ymprydiais ac a Weddiais ar i Dduw fy ngwared ei oddiwrthi hi.

A thrachefn

A thrachefn ar amser arall, hi a ddywedodd wrthyf: *Oni bydd i ti Odinebu gyda mi, myfi a laddaf fy Nhwysog, ac fellu wrth y Gyfraith mi ath gymeraf di yn Wr i mi.*

A ffan glywais ei hynny, mi a rwygais fy Nillad, ac a ddywedais, Wraig, er dolwg, cywilyddia oblegid y pethau hyn oflaen Duw, ac na wna y fath ffieidd-dra, ac na ddigalona yn gwbwl, rhag i ti foddi yn dy ddrygioni dy hyn: Canis os ti y aiff rhagot, te a fydd i mi ddatgan a chyhoiddi amcan dy anwiredd di.

A hitheu gan ofni y pethau hyn, a ddeisyfodd arnaf, na bydde i mi ddatguddio i drygioni hi; ac fellu hi a ymadawodd.

Etto drachefn hi a aeth yn nghylch fy hudo ei ai rhoddion, gan ddanfon i mi bob peth ar oedd raid i ddynion wrthynt; a hi a ddanfonodd i mi Fwydydd gwedi i hilio oddiamgylch a Swynion; Ac fel ir ydoedd yr *Eunuch* yn i ddwyn i mewn, myfi a edrychwn, ac wele Ddyn dychrynllyd yn rhoddi i mi gleddyf a ffiol, a mi a ystyriais i bod yn myned yn nghylch fy hudo ei; a ffan aeth ef ymaith ir wylais, ac nis cyffyrddais ei ddim ar bwyd hwnnw, nag a ddim arall ar a ddanfonodd hi dros ennyd fawr.

Yn

Yn y diwedd, yn ol hynny, hi a ddaeth attaf, gan ddywedyd, *Beth ydiw yr achos na buasit ti yn bwyta'r Bwyd?* A minneu a ddywedais, Am ddarfod i ti i wenwuno êf: d gan hynny ti a gai wybod na ddeuaf fi at Eulynod, ond yn unig at Dduw: Deall gan hynny yn awr, mae Duw fy Nhadau drwy ei Angel a ddanghosodd i mi dy ddrygioni di, a minneu a gedwais y Bwyd ith gwilidd, fel os bae bosibl i gellit edifarhau, a dyscu gwybod nad ydiw dichell gweithredwyr anwiredd yn llwyddo yn erbyn y rhai a addolant Dduw mewn purdeb a gonestrwydd. A mi a gymerais ac a fwytais oi blaen hi, gan ddywedyd, Duw fy Nhadau, ac Angel *Abraham* a fydd gyda mi, a hitheu a gwympodd wrth fy Nhraed, ac a wylodd: Yna gan i chodi hi i fynu, mi ai cynghorais hi o amriw ffyrdd, a hitheu a addawodd wrthyf na bydde iddi wneuthyr y fath anwiredd yn ol y dydd hwnnw.

Etto oherwydd bod ei chalon yn alarus, yn llosgi tua ac attaf fi mewn Godineb, drwy ocheneidion y rhai oedd yn dyfod o ddyfnder ei chylla hi, ai hwynebpryd hi a syrthiodd i lawr: Ar *Aipht-ddyn* ei Gwr hi a ddeallodd, ac a ddywedodd: *Pa ham ir ydwyt ti yn gostwng i lawr dy Wyneb?* A hitheu a attebodd, *Ir ydwyfi yn athryst o Galon,*

*Galon*, ac ynteu ai cyſurodd hi, yr hon nid ydoedd glaf.

Etto drachefn hi a ddaeth i mewn atta fi, pan ydoedd ei Gwr allan, ac a ddywedodd, *Ydd ydwyfi yn Grogedig neu yn Dagedig, naill ai myfi a doraf fy Ngwddf, neu mi am bodda fy hun, oni bydd itti ufyddhai i mi*

A minneu yn dealld fod Ysbryd Belial yn i thryblio ac yn i blino hi, mi a weddiais ar yr Arglwydd fy Nuw, ac a ddywedais, Pa ham ir wyti yn dryblus ac yn flinderog, dydi gwbwl ddall mewn pechod? Cofia dy hunan, canis os ti ath ladd dy hun, Gorddech dy Wr, yr hon a elwir *Secon*, yn dy gynfigennu di, a bwua dy Blant di, a ddiniſtria y coffadwrieth o honot oddiar y Ddaiar.

A hi a ddywedodd wrthyf: *Digon yw, digon, ir ydwyf yn deall fod genit beth gofal drofofi, mae hynny yn ddigon genif, dy fod ti yn ymddiffin fy Mywyd ei am Plant, i mae genif obaith da erbyn yr amser fydd i ddyfod i bydd i mi gyrhaeddyd fy nymuniad ewyllyſgar*: Ac nis deallodd hi mae o gariad ar yr Arglwydd fy Nuw i dywedaſwn ei gellu, ac nid er ei mwyn hi.

Canis pwy bynnag a ddilyno drachwantae i frwnt ai ddiſtrywgar ddymuniad ei hun, a wneir yn Wâs ir cyfriw, megis ac ir ydoedd

y Wraig

y Wraig yma: Ac os clyw êf un-peth da yn i ddioddefaint ymha ûn i gorchfygir êf, mae yn troi y cyfriw iw beryglus fudr ddymuniad.

Ydd ydwyf yn mynegi i chwi, fy Meibion, mae o gwmpas chwech ar y gloch ydoedd hi pan aeth hi oddiwrthyf, a mi a gwympais ar fy Ngliniau, ac a weddiais at Dduw yr holl ddiwrnod hwnnw, ar nos oedd yn canlyn, ac yn nghulch toriad y wawr, mi a godais dan wylo, ar ei Dduw fy nghadw ei unwaith oddiwrth yr *Aipht wraig*.

Ac or diwedd, hi a gymerth afel ffast yn fy Ngwisg, gan fy nhynnu i fyned ir Gwely gyda hi; yna ei deallais i bod hi gwedi ynfydu, a thrwy drais, ai holl nerth yn dal ei gafael yn fy Ngwisg: yna i gollyngais fy Ngwisg i lithro oddiwrthyf, ac i ffoais ymaith.

Ac yn ôl hynny hi a wnaeth achwyn arnaf wrth ei Gwr, yr hwn am rhoddae yn Ngharchar yn Nhu y Brenin; ar dydd oedd yn canllyn fe am curwyd ei yn dost, ac am bwriwyd ir Carchar; a ffan oeddwn yn rhwum mewn gefynau, yr *Aipht-wraig* a fyrthiodd yn glaf gan driftwch, ac a glybu ra fodd ir oeddwn ei yn clodfori Duw yn Nhu y Tywyllwch: canis ir oeddwn ei yn llawenhychu a llef gorfoledd, ac yn moliannu

fy Nuw yn vnig, am mae drwy y fath achos im gwaredwyd ei oddiwrth yr *Aipht-wraig.*

Etto y hi gan beidio a sefull i wrando, a ddywedodd: *Digon, cymer y peth ir ydwyf yn i gynnig i ti, a chyflawna fy ewyllus, ac mi ath waredaf di oth Gaethiwed, ac ath ddygaf di allan or Tywyllwch:* Ond hyn oll ni alleu annog dim arnaf ei, yn giniaint ac im meddwl unwaith blygu at ddymuniad o honi; canis Duw sydd yn i garu êf yn well yr hwn sydd yn Ymprydio mewn diweirdeb, er i fod mewn Carchar tywyll, nar hwn sydd yn cymeryd difyrwch mewn gwantawrwydd mewn Stafelloedd o anrhydedd a golud.

Canis os bydd Gwr fyw mewn diweirdeb, ac yn deisyf anrhydedd, os bydd Duw yn gweled yn gymwys iddo, êf ai rhoddif iddo, megis ac i rhoddes ëf i mineu.

Llawer amser, megis ped faseu hi yn glaf, hi a ddeue i wared attaf a mineu heb wybod, hi a glowe lais fy ngweddi, ac a sase yn hytrach yn fwy llonydd; ond pan glown ei y hi yn ochneidio, mi a dawn: Canis yn ei Thy hi ai diosgei ei hûn yn noeth ei Breichiau ai Chouseu, fel drwy hynny i bydde iddi hi ennyn cariad ynofi tua ac atti hi; canis ir ydoedd hi yn lân iawn, a chwedi ymdrwsio

yn ogoneddus, im hudo ei, ond Duw am cadwodd ei oddiwrth i gwaith hi.

Gan hynny fy M[illegible]ion; gwelwch beth i mae Dioddefgarwch gyda Gweddi ac Ympryd yn i wneuthyd.

Gan hynny fy Mlhant, os cerwch chwi sobrwydd a diweirdeb mewn hir ymaros, a gostyngeiddrwydd calon, yr Arglwydd a breswilia ynoch chwi; canis mae ef yn caru sobrwydd: A ffan fytho y Gorucha yn preswilio mewn Dyn, er digwydd iddo syrthio i gynfigen neu i gaethiwed, neu ogan, yr Arglwydd yr hwn sydd yn preswilio ynddo, am ei ddiweirdeb, nid yn unig ai gweryd, ond hefyd ai darchefiff ac ai gogoneddiff, megis ac i gwnaeth ef a mineu; canis mae yn wastadol gyda ac ef mewn meddwl, gair a gweithred.

Fy Mlhant, chwi a wyddoch yn ddigon da, y modd im carodd fy Nhad fi, etto ni bumi yr ioed falchach o galon er hynny.

Canis er pan oeddwn yn Blentyn, ir oedd ofn Duw yn fy meddwl ei.

A ffan ddaethym i oedran, mi am cymhresurais fy hun, ac y anrhydeddais fy Mrodyr, y rhai ir oeddwn ei yn i hofni.

Ac mi a gelais y peth pan im gwerthwyd, oherwydd na fynnwn ir *Ismaeliaid* wybod fy ngwreiddin nam cenedl, y modd ir oeddwn

oeddwn yn Fab ei *Jacob*, Gwr o allu a nerth mawr.

Gan hynny bydded gynech ofn Duw yn eich gweithredoedd, ac anrhydeddwch eich Brodyr; canis pob ûn ac a gadwo Gyfraith yr Arglwydd a gerir gantho êf.

Yna mi a ddaethym gyda yr *Ismaeliaid* i fewn rhyw lef a elwir *Indoclep*, a hyw a ofynasant i mi beth oeddwn ei; a mi a ddywedais (oblygid nad oeddwn yn chwenych argoiddi fy Mrodyr) mae ûn o Gaethweision y Ty hwn oeddwn.

Yna i dywedodd y pena o honynt: *Nid Gwas ydwyt ti, canis dy Wyneb sydd yn dangos beth ydwyt*; ac êf am bygythiodd i farwolaeth; etto er hyn i gid, mi a ddywedais drachefn mae Caeth-was iddynt hwy oeddwn ei.

Ond pan ddaethom ni ir *Aipht*, hwy a ddechreuasant ymryson pwy am cae ei am yr Arian y dalesid am danaf fi, a hwy a gyttunasant i cawn ei aros yn yr *Aipht* gyda Marsiandwr, hyd yr amser i paresent iw marchnatwyr ddychwelyd drachefn; a Duw a roddes i mi ffafor yn ngolwg y Marsiandwr, fel ei rhoddes êf yn fy siars ei i holl Dy, ar Arglwydd ai Bendithiodd êf drwy fy Llaw i; canis yr Arglwydd a roddodd iddo

êf lawnder o Aur ac Arian; a mi a fum gyda ac êf dri mis a ffum nhirnod.

Yn yr amser hyn ir aeth heibio i ni *Memphetica*, Gwraig *Putiphar*, mewn rhwysg fawr, a hi a swriodd ei golygon arnaf, oblygid yr *Eunuchiaid* am danghosaseu iddi, a hi a hysbysodd iw Gwr oblygid y Marsiandwr, yr hwn a wnaethbwyd yn gofaethog drwy law Dyn ieuanc o *Hebrewr*, a hi a ddywedodd: *I ladratta efe a wnaethant allan o Dir* Canaan; *gwna farn gan hynny arnynt hwy, a chymer y Dyn ieuanc yn Olygwr i ti, a Duw yr* Hebreaid *ath Fendithia di; canis Gras or Nefoedd sydd yntho efe:*

Yno *Putiphar* ei Gwr hi, gwedi i breswaedio ar geiriae hyn, a barodd ddanfon am y Marsiandwr, ac a ddywedodd wrtho: *Pa beth ydiw hyn ir wysi yn i glowed am danat ti, dy fod yn Lladratta Enidia allan o Dir yr* Hebreaid, *wrth werthu Plant.*

Ar Marsiandwr a gwympodd i lawr ar ei Liniau, ac a ddeisyfodd arno, gan ddywedyd: Er dolwg fy Arglwydd, hysbysa i mi y peth hwn; canis nis gwn ei pa beth ir ydwyt yn i ddywedyd.

Ac êf y attebodd, *Yn mha fan i cefaist ti yr* Hebreaid *hwn.*

Ac êf a ddywedodd, Yr *Ismaeliaid* a i gadawsant êf yma gyda mi hyd onis dychwelent hwy drachefn.

A ffan ddywedodd êf yn y modd hynny, *Putiphar* a ddywedodd, *Dygwch yma y Dyn ieuanc*: A ffan ddygwyd fyfi i mewn, mi a gyferchais Dwyfog yr *Eunuchiaid*, canis êf ydoedd y trydydd Wr mewn Anrhydedd gyda *Pharoah*, ac yn Dwyfog ar yr holl *Eunuchied*, ac ir ydoedd iddo Wraig, Plant a Gordderchadon.

A ffan gymerodd êf y fi or nailldu, êf a ddywedodd: *Pa ûn ai Caeth ai Rhydd ydwyt ti?* Mineu y atebais [Caeth.]

Ynteu a ddywedodd: *Caeth i bwy ydwyt?* Mineu y atebais, Ir *Ismaeliaid*.

Ac ynteu a ddywedodd wrthif drachefn: *Pa fodd i digwyddodd i ti ddyfod yn Gaeth iddynt hwy?* Mineu a ddywedais, Oherwydd iddynt fy mrhynu ei yn Nhîr *Canaan*.

Etto ni choiliodd êf mo honafi, eithr êf a ddywedodd: *Dic dy fod ti yn dywedyd celwydd*, ac a orchmynnodd fy nghuro ei.

Ai Wraig êf oedd yn edrych drwy y ffenestri, ac yn gweled fy nghuro ei, hi a ddanfonodd at ei Gwr, gan ddywedyd: *Dy Farn di sydd Anghyfiawn, am dy fod ti yn ceryddu ar gam y Dyn ieuanc yr hwn a ladrattwyd.*

Er

Er hynny, oherwydd nad oeddwn ei yn newid mom gair, fe am curwyd drachefn, ac a archodd fy nghadw ei wrth i orchymyn ef, hyd oni ddelai fy Meister.

A'i Wraig a ddywedodd: *Pa ham i cedwir mewn Caethiwed y Plentyn Ardderchog: Elusenach a fuasei i ollwng efe ymaith, ach curo chwi.*

Ac ir ydoedd yn chwenych fy spio ei mewn dymuniad o bechod, a mineu heb wybod dim o hyn.

Ac efe a ddywedodd drachefn wrth ei Wraig, *Nid ydiw yn beth onest yn musg yr* Aiphtiaid *gymeryd ymaith eiddo un arall, heb yn gyntaf hysbyssu iddo*: A hynny a ddywedodd o herwydd y Marsiandwr a mineu.

Ac wedi fy rheddi yn Ngharchar, yn ôl pedwar ar hugain o ddyddiau, daeth yr *Ismaeliaid*, a hwynt gwedi clowed fod *Jacob* fy Nhad yn drwm arno om plegid ei, hwy a ddywedasant wrthyf i: *Pa ham i dywedaist ti mae Caeth-was oeddit; ac yn awr ydd ym ni yn gwybod mae Mab i Wr mawr o Dir* Canaan *ydwyt; ac i mae dy Dad yn alarus am danat ti mewn Sach liain?*

Yno fe a ddaeth wylo arnaf, ond mi am hatteliais fy hûn, rhag i mi gwilyddio fy

Mrodyr.

Mrodyr, ac a ddywedais: Ni wn ei mo hynny, canis caeth was ydwyfi.

Yna hwy a gymerasant gyngor yn ei musg ei hunain, i ba les, neu ei bwy i gallent hwy fy ngwerthu ei, rhag fy nghael ei yn i dwylo hwynt; canis ir oeddent yn ofni fy Nhad *Jacob*, rhag iddo ef ymddial arnynt; oherwydd hwy a glowsent i fod ef yn nerthol gyda Duw a Dyn.

Yno i dywedodd y Marsiandwr: *Rhyddhewch efe oddiwrth Farn* Putiphar: Hwythau pan glowsant hyn, a ymofynasant am danaf fi, gan ddywedyd ddarfod iddynt hwy fy mhrynu ei am i harian; ac yno fe am rhoddwyd iddynt.

A *Memphetica* a ddywedodd wrth ei Gwr am fy mrhynu ei, a hi a ddywedodd, *Ir ydwyf i yn clowed i bod hwy yn chwenych i werthu efe.*

A hwy a ddanfonasant ûn or *Eunuchied* at yr *Ismaeliaid*, ar feder fy mrhynu ei, a fryd nas gallent hwy gytuno am danaf fi, ef a ddychwelodd, ac a ddanghosodd yw Arglwyddes i bod hwy yn gofun pris mawr am y Bachgen.

A hi a ddanfonodd drachefn *Eunuch* arall, gan ddywedyd: *Ped fae iddynt ofin dau Gawgied o Aur, gwel nad ysbariech di mor Arian, ond* prûn *y Bachgen, a dwg efe i mi.*

Ac

Ac ĕf a dalodd 80 o goronau Aur am danaf i, ac a ddywedodd wrth ei Arglwyddes iddo ĕf roddi 100. a mine yn deallid hyn, a dewais a sôn, rhag ofn chwilio yr *Eunuch*.

Gwelwch yn awr fy Mhant y pethau a ddioddefais, a cherwch y naill y llall yn barhaus, gan fwrw ymaith och musg fyddylie twyllodrus; canis Duw fydd yn hoffi undeb rhwng Brodyr, a chantho hyfrydwch yn y cariad ar etholiad o galon brofedig.

Canis pan ddaeth fy Mrodyr allan or *Aipht*, ac iddynt fy adnabod ei, mi a roddais iddynt ei Harian; ac yr ioed ni roddais ei wradwydd iddynt, ac ai cysurais hwy; ac ar ôl Marwolaeth *Jacob*, mi ai cerais yn fwy helaethach, a chimaint oll ar y ddarfu iddo ĕf yr ioed orchymyn i mi, a wneuthym yn ufydd: a rhyfeddent hwy na buasŵn yn goddc eiddynt gael blinder am ychydig achos; canis yr hyn oll ar ydoedd yn fy ngallu a roddes iddynt hwy. Ei Plant hwy a gyfrifid i mi megis fy Mhant fy hûn, am Plant inneu fel gweision iddynt hwy: Ei Bywyd hwy ydoedd fy Mywyd ei, ai Tristwch hwy ydoedd fy Nrhistwch ei; ai holl Wendid hwy, ai Doliriae, ydoedd arnaf i: Fy Nhîr ei ydoedd Dir iddynt hwy, am Cyngor ei ydoedd Gyngor iddynt hwy;

ac

ac nis Derchefais ei yr ioed mo honaf fy h-
nan mewn Balchder uwch i llaw hwy, oh-
rwydd fy Ngogoniant Bydol, eithr oeddw
yn i plith hwy megis ún or rhai lleiaf.

Gan hynny fy Mlhant, os bydd i chw
rodio yn Ngorchmynion yr Arglwydd, y
Arglwydd ach derchefiff, ac ach bendithiff
chyfoeth tragwyddol: Ac os gwna un-dyn
niwed i chwi, gwelwch ar i chwi drwy la-
ryeidd-dra weddio drosto ef, ac fellu Duw
ach gweryd chwi oddiwrth bob drwg.

Canis edrychwch, a gwelwch, am fy hir
ymaros y modd i rhoddwyd i mi Ferch fy
Arglwydd yn Wraig, a rhoddwyd i mi gyda
hi gan Talent o Aur; canis Duw a wnaeth
iddint hwy fy ngwasaneuthu ei, ac a
roddodd i mi brydferthwch, fel i byddwn
ei megis Blodeuyn uwch law pawb ar
ydoedd lân yn *Israel*; ac fellu am cadwodd
hyd fy henaint mewn nerth ac mewn tegwch,
o herwydd fy mod ei yn debig ei *Jacob* yn
mhob peth.

Gwrandewch yn awr, fy Mlhant, ar y
Breddwedion y rhai a welais: Deuddeg
Carw oedd yn pori, a naw o honynt a ym-
rannodd ar lêd yn y Ddaiar; a hefyd mi a
welais fel i ganwyd Morwyn allan o *Juda*,
a chanthi Wisg o Sidan gwyn, ac o honi
hi i daeth allan Oen Difrycheulyd: Ac ar

U y llaw

law asswy ir Oen yma ir oedd megis Llew;
holl Anifeiliaid gwedi ymwneuthyr yn
erbyn êf, ar Oen ai gorchfygodd hwynt,
ai sathrodd hwynt dan ei Draed; ac yn-
o êf i llawenhychodd yr Angylion, Dynion,
holl Ddaiar.
Y pethau hyn a gyflownir yn ei hamser,
ynny ydiw yn y dyddie diweddaf: Gan
ynny fy Mhant, cedwch Orchmynion yr
Arglwydd, ac anrhydeddwch *Juda* a *Levi*,
canis o honynt hwy y terddiff allan Oen
Duw, yr hwn drwy ei râs a geidw *Israel*
ar holl *Genhedloedd*; ai Deyrnas êf sydd
Deyrnas dragwyddol, yr hon nid aiff heibio:
Canis fy Nheyrnas ei a ddiweddir ynoch
chwi, megis ûn yn cadw Gwinllan; canis yn
ôl y Canhauaf nid ymddengus mwuach.
Canis ir ydwyf yn gwybod yn dda, mae yn
ôl fy marwolaeth ei, y bydd ir *Aiphtiaid*
eich blino chwi, ond Duw a ymddial croloch
chwi, ac ach dwg chwi i Dir yr addewid,
yr hwn a dyngodd êf wrth *Abraham*, *Isaac*
a *Jacob*.
Ond dygwch fy Esgyrn ei gyda chwi:
Canis wrth wneuthyr fellu i bydd yr Argl-
wydd yn y goleini gyda chwi yn erbyn yr
*Aiphtiaid*, a Belial a fydd yn y tywyllwch
gyda yr *Aiphtiaid*.

Dygwch

Dygwch hefyd Esgyrn eich Mam *Zil*
ac yn agos ir Dyffryn yn ymul *Ra*
Cleddwch hi.

*A ffan orffennodd efe lafaru y geiriau h*
*efe a ystynodd allan ei Draed, ac a hun*
hûn *yr holl Fyd. Yna hwy ai Peraroglas*
*ef a Llysiau, gan i roddi efe mewn Coffor*
*yr* Aipht; *ac yn* ôl *iddo fyw ddeng mlhyne*
*a chant, efe a welodd Blant* Ephraim *hy*
*drydydd Genhedlaeth; canis ei* Machir *M*
Manasses *i Ganesid Plant ar Liniau* Josep
*Ac yn* ôl *hyn, hwynt oll o* Israel *a alaras*
*am dano efe, ar holl* Aiphtiaid *hefyd, a ga*
*mawr; canis ir ydoedd efe yn Tosturio wr*
*yr* Aiphtiaid *fel wrth i Aelodau ei hun*
*gan i cynorthwyo hwynt ai Lafur ac*
*Gyngor, ac yn gwneuthyr daioni iddynt*
*bob amserau a thymhorau.*

---

*Benjamin ſydd ddedwydd* dôn,
*Yn erchi, gwiw orchwyl iw Feibion,*
*Drwy wedd* bûr, *gadw dra bon,*
*Fuddiol dda ſeddwl inion.*

ESTAMENT *BENJAMIN a wnaeth fe iw Blant wrth Farw yn nghylch* Meddwl Glân.

COppiad o Eiriau *Benjamin* y rhai a lyfarodd êf wrth ei Blant, pan ydoedd f yn chwech ugain o flynyddoedd, êf ai uſanodd hwynt, ac a ddywedodd:

*Iſaac* a aned yn y ganfed flwyddyn ei *braham*, fellu ſineu yn y ganfed flwyddyn i *Jacob*; ac oherwydd i *Rachel* farw ar fy genedigeth, mi a ſignais ei Llaw-forwyn i *Bilhah*: Canis yn ôl geni *Joſeph* ei *Rachel*, i a fu yn an-mlhantadwu ddeuddeg mlhynedd, a ffan ddarfu iddi hi weddio at yr Arglwydd yn y deuddeg mlhynedd hynny, hi a feichiogodd ac a eſcorodd arnaf i; canis fy

Nhad

Nhad oedd yn caru *Rachel* yn rhagorol, ac ydoedd yn ewyllysio gweled dau Fab o honi; ac am hynny im galwed ei *Benjamin*, hynny ydiw, *Mab fy Nyddiau*, neu *Fab fy Ngalar*, o herwydd im Mam farw ar fy ngenedigeth ei.

A ffan ddaethym gynta ir *Aipht*, ac im Brawd *Joseph* fy adnabod, êf a ddywedodd wrthif: *Pa beth a ddywedasant hwy wrth fy Nhad pan Werthasant fi?*

Mineu a ddywedais, Trochi a wnaethant dy Siecced mewn gwaed, gan i dwyn hi atto êf, a dywedyd: Gwel ai hon ydiw Siecced dy Fab, ai nad ie.

Am Brawd hefyd a ddywedodd wrthif neu: *Yn ddie pan Werthasant fi ir* Ilmahaid, *ûn o honynt am tynnodd ei allan or Siecced, ac a roddodd i mi Grysan tene iw oddi am danaf, a chan fy chwipio ei a flangellau, a barodd i mi redeg: Ac fel ir doedd efe yn myned or naill du i guddio fy Dillad, Llew a gyfarfu ac efe, ac ai lladdodd efe; ar rhai oeddent gyfranog ac e a ofnasant, ac am Gwerthasant ei iw feilliom.*

Chwithau gan hynny fy Mlhant, cerwch duw yr Nefoedd, ac ufyddhewch iw Orchymion êf, gan ddilin y Gwr da fainctaidd hynny *Joseph*; bydded eich meddyliau

gwedi

gwedi i gosod ar ddaioni, megis ac i gwyddoch chwi fod fy meddwl ei: Yr hwn ac sydd gantho feddwl da, i mae êf yn inion, ac uwchlaw pob peth gweledig.

Ofnwch Dduw, a cherwch eich Cymydogion; yna 'er i Ysbryd Belial ych temptio i bob math ar ddrygioni eich blino chwi, etto ni chaiff êf y llaw yn ucha arnoch chwi, mwy nag i casodd ar fy Mrawd *Joseph*; pa gynifer o ddynion a fynent i ladd êf, ac er hynny Duw ydoedd yn wastadol yn i ymddiffin êf?

Canis yr hwn sydd yn ofni Duw, ac yn caru ei Gymydogion, nid archollir êf gan wybrennol Ysbryd Belial; ar hwn sydd ac ofn yr Arglwydd yn darian iddo, sydd ddi-gel oddiwrth bob Dyn ac Anifail, ac ni gellir i orchfygu êf, oherwydd êf a gynorthwyir gan gariad Duw yr hwn sydd gantho êf tua ag at ei Gymydog.

Canis *Joseph* a geisiodd gan ein Ta[d] *Jacob* weddio dros fy Mrodyr at yr Arglwydd, ar na bydde iddo roddi yn i cy[f]hwy y drygioni a ddarfasei iddynt swria[d] yn i erbyn êf.

Ar hynny *Jacob* a lefodd allan: *O fy M[...] Joseph, tydi a orchfygaist fy nghalon.* A ch[...] ei gofleidio ai gusanu êf ddwy awr yngh[...] a ddywedodd: [illegible] *wydoliaeth y Nefoedd y[...]*

*ti a gyflownir yn gwbl, yn mherthynas Oen Duw, ac Achubwr y Byd, a bydd ir Difrycheulyd gael i draddodi dros Weithredwyr Anwiredd; ac efe yr hwn sydd Ddi-bechod a gaiff farw dros Bechaduriaid yn Nghwaed ei Destament, er Iachadwriaeth y Cenhedloedd, ac* Israel *hefyd, ac efe a dery Belial ai holl Weision.*

Fy Mhlant, edrychwch ar ddiwedd y Gwr da hwnnw, a dilynwch ei Drugarogrwydd ëf a meddwl da, modd i caffoch chwithau hefyd Goron Gogoniant ar eich Penau.

Nid oes gan Wr da Lygad tywyll; canis mae ëf yn Drugarog ac yn Dosturiol wrth bob Dyn; ie er i bod hwy yn Bechaduriaid, ac eiddynt ddychmygu drwg iw erbyn:

Canis yr hwn sydd yn gwneuthyr da, sydd yn gorchfygu y drwg, drwy ymddiffyniad daioni:

Ac yn caru y cyfiaw[illegible] ei Enaid ei hun:

Os ûn arall y anrh[illegible] iw ëf yn cynfigenu dim:

Os ûn a gyfoethogir, nid [illegible] hynny yn i flino ëf ddim:

Os Gwr a fydd gryf neu galonog, i mae ëf yn i ganmol, gan gredu hefyd i fod ëf yn ddiwair.

I mae

I mae êf yn ymddiffin yr hwn fydd yn ofni Duw; i mae yn cyd-weithio yn nghyd ar hwn fydd yn ofni Duw, ac yn i garu êf:

Os bydd i Wr ymadel ar Holl-alluog, i mae yn i rybuddio êf i ddychwelyd drachefn:

Pwy bynnag a fytho gantho râs yr Ysbryd da, hwnnw i mae êf yn i garu megis ei Enaid ei hûn:

Mae êf yn tosturio wrth y tlawd, ac yn cynorthwyo y gwan; i mae êf yn gogoneddu ac yn anrhydeddu Duw.

Fy Mlhant, os bydd genech chwi feddwl da, Dynion drwg fydd arnynt ych arswyd chwi, ar afradlon rhag ei gwilidd a ddychwelir at ddaioni: Ac fellu rhai cybyddu[illegible] nid yn unig a ymadawant ai crintachrwy[illegible] ond hefyd a roddant yn helaeth ir anghenus.

Os bydd [illegible] gweithredwyr da, Ysbrydion [illegible] ymaith oddiwrthych; ar Bwyst[illegible] a giliant rhag eich ofn; canis [illegible] gofal am weithredoedd da yn y meddwl, yno i mae tywyllwch yn ffo ymaith; ac os gwneiff êf gam ac un-dyn, fe a fydd yn ddrwg gantho: As os Gwr rhinwedd a gaiff gam, mae yn tosturio wrth yr hwn ai gwnelo, ac yn i roddi i fynu drwy [illegible] ddistawrwydd.

ffawrwydd. Ac os bydd i yn-dyn fra-
gachu Enaid cyfiawn, ac ir cyfiawn weddio
dros ei fradychwr, nid bychan a fydd gogan
y bradychwr, ond y cyfiawn a ddaw yn fwy
llanou y... hynny, megis ac i bu im Brawd
Joseph.

Nid oes gan Ysbryd drygionus Belial
ddim gallu dros feddwl Gwr da; canis
Angel Tyngnhefedd fydd yn cyfrwyddo ei
Enaid êf:

Nid iw yn edrych yn ferchog ar bethau
llygredig, nag yn cribinio golyd yn nghyd
yn nymuniant trachwant.

Nid ydiw êf yn ymhyfrydu mewn
pleserau.

Nid iw yn blino ei gymydog.

Nid iw yn i lenwi ei hûn a bwydydd,
fal nid iw chwaith yn crwydro yn malchder
ei lygad; canis yr Arglwydd ydiw ei gy-
fran êf.

Nid iw êf yn cymeryd dim gogoniant am
roddi cyngor da.

Nid iw êf yn dal fulw pa fodd i bytho
dynion yn i ddi-anrhydeddu êf, ni feidr êf
chwaith fod yn ddichellgar neu faleufus
mewn anwiredd, ymryfonedd ac enllib;
canis i mae yr Arglwydd yn prefwilio yntho
êf, ac yn goleuo ei feddwl, i mae êf yn

ymlawenhychu yn ngolwg pob Dyn [illegible]chio amser da.

Nid oes gan feddwl da ddau Dafod, i fendithio, ac ûn arall i felldithio, [illegible] ûn i enllibio, ac ûn arall i an[illegible]eddu; ûn o lawenydd, ac ûn arall o [illegible]udd-der; [illegible] o lonyddwch, ac ûn arall o [illegible]ader; ûn o [illegible]rith, ac ûn arall o wirionedd; ûn o dlodi, [illegible] ûn arall o gyfoeth: Ond mae gantho û[illegible] unig ddasparthiad pûr ac anllygredig tua a[illegible] at bob Dyn; nid oes gantho na golygon n[illegible] gwrandawiad ddau ddyblig; canis yn mho[illegible] peth ar á wnelo, pa ûn bynnag ai gwele[illegible] ai dywedyd, mae êf yn gwybod fod yr Arglwydd yn gweled ei galon êf, ac o herwydd hynny mae êf yn glanhau ei feddwl, mo[illegible] na cheffer êf yn feius oflaen Duw [illegible] Dyn.

Eithr holl weithredoedd Belial yn [illegible] ddau ddyblig, ac yn gwbl wag o [illegible] rhwydd.

Gan hynny fy Mhlant, gochel[illegible] [illegible]n ddrygioni Belial; canis ar y cynta [illegible] yn ddi[illegible]rwch i'r fawl a ufyddhant iddo êf, eithr yn [illegible]diwedd mae êf yn Gleddyf, ac yn Dad [illegible] [illegible]th ddrwg: Canis pan feichiogo y meddw[illegible] [illegible]vaith drwy Belial, i mae êf yn esgor [illegible] [illegible]igen yn gynta, yn ail ar ddibrisrwyd[illegible] [illegible]ydydd ar brydd der, yn bedwerydd [illegible]

gaethiwe[illegible]

gaethiwed, yn bumed ar angen, yn chweched ar drwblaethau, yn seithfed anghyfanedd-dra; ac o herwydd hynny *Cain* a gystyddiwyd a saith o geryddon gan Dduw; canis dros saith mlhynedd clynol, Duw a ddygodd blaue ei newydd ar *Cain*; dau cann mlhynedd i dioddefodd, ac yn mhen naw cann mlhynedd y Ddaiar a wnawd yn anghyfanedd drwy y Diliw, er mwyn *Abel* gyfiawn ei Frawd ěf: Ac yn y seithfed gann mlhynedd *Cain* a farned, a *Lamech* yn y ddeg a thri-ugain saith-waith; canis y neb sydd debig i *Cain* mewn casineb a chynfigen tua ac at ei Brodyr, a geryddir ar unrhiw gerydd yn dragowydd, megis yntau.

Chwi gan hynny fy Mlhant, gochelwch falais, llîd a chynfigen tua ac at eich Brodyr, glynwch wrth ddaioni a charedigrwydd; yr hwn sydd gantho feddwl glan mewn cariad, nid ydiw yn edrych ar wraig mewn ffordd o drathyllwch, o herwydd nad oes halogedigrwydd yn i galon ěf, canis Ysbryd yr Arglwydd sydd yn gorffwus arno: Canis megis ac i mae yr Haul heb i halogi er iddo dywynnu ar y pwll neu yr dommen, ond yn hytrach mae ěf yn sychu i fynu, ac yn gyru ymaith y drewi; fellu i mae meddwl pûr yn ymdrech yn erbyn aflendid

y Ddaiar, ac yn i orchfygu, ac heb i halogu ei hunan.

Ac ir ydwyf yn dealld wrth leferydd *Enoch* y cyfiawn, y bydd gweithredoedd drygionus yn eich musg chwi, a chwi ach halogwch eich hunain a godineb *Sodom*, ac fe a dderfydd am danoch, oddieithr ychydig, a chwi a gynyddwch mewn chwantau afreolus tua ac at Ferched, a thyrnasiad yr Arglwydd ni bydd yn eich plith chwi; canis yr Arglwydd ai cymmer ei hûn yn bryfur ymaith.

Er hynny Temel yr Arglwydd yn eich rhan chwi a wneir, ac a fydd gogoneddus yn eich musg chwi.

Canis yr Arglwydd ei hûn a gymer y Deyrnas arno i hunan, ar deuddeg Llwyth a gesglir ynghyd, ar holl Genhedloedd a ymgynillant yno, hyd onis danfono y gorucha ei Iachadwrieth yn ymweliad ei unig Genhedledig.

Ac êf a eiff ir Demel gyntaf, ac yno y bydd ir Arglwydd oddef cam ai ddirmygu, ai godi êf i fynu ar ddarn o Bren: A Llen y Deml a rwygir, ac Ysbryd yr Arglwydd y ddaw i lawr ar y Cenhedloedd, ac a dowelldir allan fel tân; a chan gyfodi i fynu or Bedd, êf a ymddarchefiff or Ddaiar ir Nefoedd; ac êf a gofia mor Ddirmygus fy êf i...

ar

ar y Ddaiar, ac mor Ogoneddus ydiw êf yn y Nefoedd.

Pan ydoedd *Joseph* yn yr *Aipht* mi a hiraethais am weled ei Gorph êf, a gwedd ei Wynebpryd êf, a thrwy Weddiau fy Nhad *Jacob*, mi ai gwelais êf yn effro yn nydd cyflownder perffeithrwydd i wedd êf.

Yn awr gan hynny fy Mhant, gwybyddwch y bydd i mi farw: O herwydd hyn bydded i bob ûn ddeilio yn inion ac yn blaen ai Gymydog; a chan weithredi yn iniawn ac yn ffyddlawn, cedwch chwi Gyfraith yr Arglwydd; canis hynny ir ydwyf yn i ddyscu i chwi yn lle pob etifeddieth; a rhoddwch chwithau y cyfriw eich Meibion yn feddiant tragwyddol.

Canis fellu i gwnaeth *Abraham, Isaac*, a *Jacob*, hwy a roddasant i ni yr holl bethau hyn yn etifeddieth, gan ddywedyd, Cedwch chwi Orchmynion yr Arglwydd hyd oni bytho iddo êf ddatguddio ei Achubawl Iachadwrieth ir holl Genhedloedd: Yna i cewch chwi weled *Enoch, Noah, Sem, Abraham, Isaac* a *Jacob*, yn eistedd ar ei ddeheulaw mewn llawenydd.

Yno i bydd i bob ûn o honom gyfodi ar ei Deirn-wialen, gan addoli Brenin y Nefoedd, yr hwn a ymddanghosodd ar Ddaiar mewn gwael agwedd Dyn.

A

A chynifer ac a gredont yntho, a orfoleddant gyda ac êf yn yr amser hwnnw: Ar holl rai hynny a gyfodant drachefn i Ogoniant, ar lleill i gwilidd.

Ar Arglwydd yn gyntaf o gwbl a Farna *Israel* am yr anghyfiawnder a wnawd yn ei erbyn êf, oblygid na chredasant yn Nuw yr hwn a ddaeth mewn cnawd iw gwared.

Yno i Barna êf yr holl Genhedloedd, a chynifer ac ni chredont yntho êf pan ymddanghosodd êf ar y Ddaiar, êf a argoedda *Israel* yn mysg etholedigion y Cenhedloedd, megis ac yr argoeddodd êf *Esau* yn y *Midianiaid*, yr hwn a hudodd ei Frodyr drwy Odineb ac Eulyn Addolieth, y rhai oedd gwedi ymddieithro oddiwrth Dduw, a syrthio ymaith oddiwrth etifeddieth y Plant, oherwydd nad ofnasant Dduw.

Os chwi a rodiwch mewn sancteiddrwydd oflaen yr Arglwydd, chwi a breswyliwch drachefn mewn gobaith yno fi, a holl *Israel* a gesglir at yr Arglwydd; ac nim gelwir ei mwuach yn Flaidd rheibus er mwun eich ysbail chwi. eithr mi a elwir yn Weithydd ir Arglwydd, yr hwn sydd yn rhoddi ymborth ir cyfriw ac a wnelont yn dda.

Ac yn fy Had ei y cyfyd êf i fynu Anwlyd yr Arglwydd, Llaserydd pa ûn a glowir

# EPISTL *PAUL yr Apostl at y LOADICEAID.*

1 PAUL Apostl, nid o Ddyn, na thrwy
Ddyn, eithr drwy Iesu Grist.
2 At y Brodyr y rhai sydd yn *Loadicea*:
Grâs a Thyngnhefedd a fytho gyad chwi
oddiwrth Dduw yr Tad, ar Arglwydd Iesu
Grist.
3 Ydd ydwyf fi yn diolch im Duw yn fy
holl weddiau, am eich bod yn aros yn ddi-
sigl yntho êf, ac yn i holl waith, gan
ddisgwyl am ei addewidion êf hyd Ddydd
Farn.
4 ¶ Ac na huder chwi drwy rai siariadus
anfuddiol, y rhai sydd yn myned oddiam-
gylch i beri i chwi gwympo oddiwrth yr
Efengil yr hon a bregethwyd ei chwi
gwyddo fi.
5 O na bae ir rhai a ddyscwyd geni fi,
fel gwasaneuthu er bydd ei Efengil y
gwirionedd, a dyfod yn ddiwid mewn gwei-
thredoedd da ei fywyd tragwyddol.
6 ¶ Ac o hyn allan ir amlygir fy rhwy-
mau ei, y rhai ir wyfi yn i diodde er mwyn
Grist.

7 O herwydd pa ham ydd ydwyfi yn lla-
wenhychu yn fy Nghalon, ac yn i gyfri yn
Iachadwrieth tragwyddol.

8 Fel i gwelid hynny drwy eich Gweddiau
chwi, a thrwy weithrediad yr Ysbryd Glân,
pa ûn bynnag ai drwy Fywyd ai drwy Far-
wolaeth.

9 Canis mae genifi ewyllus a llawenydd
mawr i farw yn Nghrist, yr hwn drwy yr ûn-
rhiw drugaredd a rydd i chwi gael yr ûn-
rhiw Gariad, i fod o ûn Meddwl.

10 ¶ Gan hynny Frodyr anwyl, megis a
i clowsoch pan oeddwn ei gyda chwi, hynn
cedwch a gorffenwch yn ofn Duw, fell
i cewch chwi Fywyd tragwyddol; can
Duw ai gweithia ac ai perffeithia êf ynoc
chwi yn ddi-oed.

11 ¶ Anwylyd, ymlawenhewch yn
Arglwydd, a gochelwch y rhai sydd
chwenychu ar ôl bidr elw.

12 Gwneler eich gweddiau chwi yn h
bus ei Dduw, ac arhoswch mewn siccir w
bodaeth o Grist.

13 A gwnewch yr hyn sydd gymhesur
gweddol, iniawn a rhesymol; ar hyn a glo
soch ac a dderbyniasoch, hynny cedwch
eich calonau, fellu i cewch chwi glôd.

14 G

14 Grâs Duw, an Harglwydd Iesu Grist, a fytho gyda eich Ysbrydoedd chwi oll, *Amen.*

¶ Perwch Ddarllen yr Epistl yma ir *Colosied,* a darlleniwch chwithau yr hyn a Scrifenwyd, *Col.* 4. 16.

*Epistl* Paul *at y* Loadiceaid *a gafwyd yn y Bibl hynaf ar y Breintwyd yn* Worms.

---

*Ychydig yn mherthynas Marwolaeth* PAUL.

PAUL gwedi i draddodi gan *Nero* yn rhwym at *Longinus* a *Magistus,* y pen Swyddogion, ac *Acestus* y Canwriaid, fel i bydde iddynt i arwen ēf y tu allan ir Ddinas, a fferi torri ei Ben ēf.

*PAUL* yn llawn or Ysbryd Glân, a Lefarodd Eiriau y Bywyd Tragwyddol, fel i bydde ei *Nero,* ac i bawb oll, gredu yn Iesu Grist, yr hwn ydoedd Frenin y Nefoedd ar Ddaiar, yr hwn a ddinistrae ogoniant y Byd a Thân.

Ac fel ir oeddent hwy yn i dywys ēf ymaith, *Longinus, Magistus* ac *Acestus,* a ddechreuasant lefaru wrtho ēf gan ddywedyd: *Dywaid i ni, O* Paul, *yn mha lef i mae y Brenin*

*Brenin hwnnw? A ffa lef ir ymddengus efe i chwi? A ffa fodd ir adnabyddwch chwi efe? A ffa beth a ddyru efe i chwi? Neu pa ddaioni a dowalld efe arnoch chwi? Gan eich bod chwi y Criftnogion mor gadarn yn ei Garu efe, fel mewn un-modd na bydd i chwi gyd-uno an Crefydd ni, fel i galloch chwi fyw, a mwynhau daioni y bywyd hwn; Ond yn hytrach nar holl pleferau, ir ydech chwi yn Ymhyfrydu yn cael eich arwain i farw er ei fwyn efe, drwy amriw Boenau: Canis mae hyn yn ymddangos i ni yn Gyfailcrnad mawr, gafau y bywyd llawen yma, ac ymgowleidio yn eich holl ddymuniadau a Chyftyddion a Marwolaeth.*

PAUL gan hynny a ddywedodd, O chwi Wyr Doethion, yn Blodeuo mewn Gwybodeth, ymadewch allan or Tywyllwch ar Cyfeiliornad yn mha ûn i mae Ardderchowgrwydd eich Dealldwrieth chwi gwedi i orchguddio a Thywyllwch, rhag i chwi weled y Gwirionedd, yr hwn fydd yn gorwedd yn guddiedig ynoch; dychwelwch gan hynny Lygaid eich Meddyliae at y Tragwyddol Dduw, y gwïr Oleini, fel i bythoch abl yn gyntaf eich adnabod eich hunain, ac fellu dyfod i fewn cydnabyddieth ar Brenin hwnnw drwy lawenydd, ac eich achyb chwi oddiwrth y Tân fydd yn dyfod ar y Byd.

